# BARDDONIAETH

## FUDDUGOL

## EISTEDDFOD, GENEDLAETHOL

## CAERNARFON, 1877:

YN NGHYDA

## HANES CYFLAWN O'R EISTEDDFOD,

**YN CYNWYS YR AREITHIAU, &c.**

CAERNARFON:
ARGRAPHWYD YN SWYDDFA "Y GENEDL GYMREIG."

1878.

# CYNWYSIAD.

# HANES YR EISTEDDFOD.

YN unol â'r cyhoeddiad o un dydd a blwyddyn yn Ngwrecsam, cynhaliwyd yr Eisteddfod Genedlaethol am 1877 yn Nghaernarfon, Awst 21ain, 22ain, 23ain, a 24ain. Yr oedd tref Caernarfon wedi bod bob amser yn enwog fel lle manteisiol i gynal cyfarfodydd pwysig o'r fath, yn gymaint a'i bod nid yn unig yn cael ei hamgylchynu ar bob llaw gan y llech-chwarelau poblogaidd, ond hefyd am ei bod yn gyfoethog mewn adnoddau Eisteddfodol,—ei meibion talentog wedi bod yn wastad yn rhai o brif feithrinwyr awen, celf, a chân. Wele yn canlyn restr o'r boneddigion a ffurfient Bwyllgor Cyffredinol yr Eisteddfod, o'r hwn y dewisid personau i weithredu ar y pwyllgorau llenyddol, cerddorol, gwyddorol, celfyddydol, arianol, a gweithiol:—Syr Llewelyn Turner, (llywydd); Meistri H. Pugh, maer; H. Humphreys, cynfaer; Parchn. E. Herber Evans, Evan Jones (Ieuan Dyfi), Evan Roberts, Hugh Jones, Canon Evans, D.D., a Thomas Newton, Glan Menai; Dr. J. Williams, Castle-square; Meistri R. Lewis, 1, Assheton-terrace; John Evans, Caellenor; J. P. de Winton; Gwyneddon; James Rees, Castle-street; M. T. Morris, Liver Establishment; William Griffith, 22, Pool-street; John C. Rowlands, Castle-square; T. Bugbird, Twthill; Ioan Arfon; Charles A. Jones, cyfreithiwr; W. Jarrett Roberts (Pencerdd Eifion); W. W. Hughes, N. & S. W. Bank; Humphrey Williams, oriorydd; William Hayden, Priory; Robert Williams, Brunswick Buildings; John Evans Jones, Newborough-street; Llew Llwyfo; Henry Morris, Segontium-terrace; John Jones, wine merchant; Henry Chenery, Post Office; R. R. Williams, builder; R. Bodran Roberts, Segontium-terrace; O. Thomas, Bronygaer; Eifioneilydd; John Lloyd, Prince of Wales Hotel; Thomas

Williams, Golden Goat; R. J. Davids; Morris Owen, (Isaled), cyfreithiwr; Lewis Lewis, Quellyn; Walter Hughes, N. & S. W. Bank; E. Hughes, ironmonger; R. Hughes (Menaifardd); John Pugh, Sportsman Hotel; W. E. Davies (yr ysgrifenydd); a Dr. W. W. Roberts.

Llafuriodd yr ysgrifenydd (Mr. W. E. Davies) ac aelodau eraill o'r pwyllgor, yn ganmoladwy iawn i sicrhau tanysgrifiadau, y rhai a gyrhaeddent i oddeutu 700p. Yn mhlith y cyfranwyr mwyaf hael cawn Arglwydd Penrhyn, 100p.; Mr. G. W. Duff Assheton Smith, Vaynol, 50p.; North & South Wales Bank, 25p.; Maer Caernarfon, 21p.; Mr. Love Jones-Parry (Elphin ap Gwyddno), Madryn, 20p.; Mr. Hugh Jones, cyfreithiwr, a'i deulu, Caernarfon, 20p.; Meistri Pierce a Williams, yr Afr Aur, 10p. 10s.; Mr. Richard Davies, A.S., 10p.; a'r National Provincial Bank, 10p.

Un o brif hynodion yr Eisteddfod oedd arddull a maint y babell yn yr hon y'i cynhelid. Y mae y boneddigion anturiaethus a ymffurfiasant yn gwmni tuag at adeiladu pabell haiarn eang ac ysblenydd i gynal yr uchel-wyl, yn teilyngu canmoliaeth a diolchgarwch cyffredinol. Saif y babell ar fan cyfleus yn nghanol y dref, sef cae Twthill; a gorchuddia oddeutu acer o dir. Y mae y muriau allanol wedi eu hadeiladu o haiarn crychedig (*corrugated iron;*) yna haen o ffelt, wedi ei fyrddio mewn modd rhagorol. Defnyddiwyd uwchlaw 142,000 o droedfeddi llinellol o blanciau yn yr adeiladwaith, ac y mae y trawstiau a'r ceibreni yn gorchuddio dros 38,000 o droedfeddi llinellol. Pe gosodid pob un o'r planciau hyn yn un llinyn hirfain buasent yn saith milldir mewn hyd, a'r trawstiau, &c., yn wyth milldir. Gorchuddiai yr haiarn a ddefnyddiwyd i adeiladu y babell enfawr hon ddwy acer ysgwar o dir. Cyflea hyn ryw ymsyniad o faint anferthol pabell Eisteddfod Genedlaethol 1877. A siarad yn fwy ymarferol, y mae'r neuadd hon yn 200

o droedfeddi mewn hyd, ac yn 100 o droedfeddi mewn lled. Y mae y to wedi ei rychwantu (*spanned*) mewn tair rhan, yr hyn a ychwanega yn fawr at brydferthwch yr adeilad. Ar bob ochr, ac yn y pen gogleddol, y mae oriel hardd yn sefyll, yr hon a eistedda rai miloedd o bobl, tra yn y cwr arall i'r adeilad y saif yr *orchestra*, lle y gall côr o tua 200 o leisiau sefyll. Drachefn, gall llawr a neuadd enfawr hon gynwys rhai miloedd yn ychwanegol o bersonau, ac y mae y drysau a arweiniant i'r babell yn hynod gyfleus. Gellir dweyd hyn hefyd am y *waiting rooms, dressing rooms*, &c. Adeiladwyd y babell mewn modd hynod gadarn gan Meistri Isaac Dixon a'i Gwmni, Lerpwl, am y swm o 7000p. Yn ychwanegol at y swm enfawr hwn, talwyd 1300p. am yr eiddo a chwalwyd yn heol Bangor, a thrwy hyny sicrhawyd agorfa fanteisiol i'r babell.

Bu y pwyllgor yn hynod ddiwyd a hapus gyda'r gwaith o brydferthu y babell. Uwchben yr *orchestra* yr oedd yr arwyddeiriau canlynol:—"Dan nawdd Duw a'i dangnef," "O! Iesu, na'd gamwaith," "Y gwir yn erbyn y byd." Uwchben y rhai hyn yr oedd enwau yr enwogion ymadawedig:—Ioan Pedr, Ieuan Gwyllt, Mynyddog, a Threbor Mai. O dan y rhai hyn yr oedd gwahanol arfbeisiau Cymreig anarferol o brydferth. Ar y muriau o bob tu i'r *orchestra* yr oedd enwau Mri. Joseph D. Jones, Picton Jones, Hu Gadarn, ac Ambrose Lloyd,—gwladgarwyr cynes ymadawedig. O dan yr orielau gwelid yr arwyddeiriau canlynol:—"Jesus repress injustice," "Hwy pery clod na golud," "Goreu arf, arf dysg," "Gwell arfer nac athraw," "Llafar bid llafar," "Goreu i gyd, gwr y Gadair," &c. O dan yr arwyddeiriau gwelid enwau Eben Vardd, Emrys, Cynddelw, Glasynys, Taliesin o Eifion, Nefydd, Owain Gwyrfai, Caledfryn, Nicander, Ioan Emlyn, &c.

Nid oedd y Cyngherddau chwaethus a gynhelid yn hwyr pob dydd yn ail mewn dyddor-

deb i'r Eisteddfod ei hunan. Llywyddwyd y cyfarfodydd hyn yn ddeheuig gan Alderman James Rees, Caernarfon; Mr. Owen Evans, Broom Hall, Pwllheli; Mr. Edward Breese, Porthmadog; a Canon Evans, D.D., Caernarfon. Gwasanaethid y cyngherddau gan rai o brif dalentau cerddorol y byd, megys Signor Foli, Madame Patey, Edith Wynne, Eos Morlais, Mri. T. J. Hughes, Gordon Thomas, James Sauvage, Owain Alaw, Dr. Macfarren, Dr. Rogers, Dr. Frost, Misses Marian Williams, Mary Davies, Mri. W. Hayden, J. Elias Davies, Hywel Williams, Undebau Corawl Caernarfon, Bangor, ac Eryri, &c.

Trodd yr Eisteddfod allan yn llwyddiant perffaith yn mhob ystyr, ond yn neillduol felly mewn ystyr arianol. Wedi talu pob treuliau, cyrhaeddai yr elw oddiwrth yr Eisteddfod y swm anrhydeddus o 1427p. O'r swm yna cyflwynodd y Pwyllgor 600p. i Brifysgol Cymru, 500p. yn ychwanegol i gyfarwyddwyr y Babell, a 300p. at Ddarllenfa y bwriedir ei sefydlu yn y dref gan yr Henadur Lewis Lewis.

Yr oedd Gorsedd y Beirdd o dan ei choron yn Nghastell Caernarfon. Anrhydeddid hi a phresenoldeb enwogion fel Hwfa Mon, Clwydfardd, Estyn, Llew Llwyfo, Gwalchmai, Tudno, Ioan Arfon, Ieuan Ionawr, Morwyllt, Gurnos, Meilir Mon, Carwad, Tegerin, Einion Alaw, Bodran, Eos Gwynedd, Andreas o Von, Gethin Jones, Y Thesbiad, Tudur, Eidiol Mon, Elis Wyn o Wyrfai, Ceiriog, Ioan Mai, Ioan Madog, Gutyn Padarn, Gweirydd ab Rhys, Gwilym Alltwen, Gwilym Berw, Gohebydd, Dafydd Morganwg, Dewi Wyn o Esyllt, Gwilym Eryri, Eifionydd, Alafon, Gwyneddon, Ceulanydd, Vulcan, Tanymarian, Harddfryn, Cynhaiarn, &c., &c. Y dydd cyntaf, agorwyd yr Orsedd trwy weddi gan Iolo Trefaldwyn, gweithrediadau yr hon a ohiriwyd hyd dranoeth. Yna ymffurfiwyd yn orymdaith, yn cael ei blaenori gan Lywydd y dydd, i babell yr Eisteddfod.

## DYDD MAWRTH.

Agorwyd y gweithrediadau trwy i Seindorf Caernarfon chwareu detholiad o alawon.

Yna cododd Hugh Pugh, Ysw., Maer Caernarfon, y Llywydd am y dydd, yn nghanol brwdfrydedd anarferol, a thraddododd yr anerchiad canlynol yn Saesneg:—

Ladies and Gentlemen: In obedience to the wishes of the executive committee of the Carnarvon National Eisteddfod, I now address you as president of our present meeting. And in that capacity, and also as chairman of our pavilion company, I beg to tender you our most cordial welcome, and sincerely trust that the entire proceedings of our Eisteddfod will prove interesting and pleasing to you (applause). The events of this day embrace subjects of local and national interests, being the opening day of our permanent pavilion as well as of our great National Eisteddfod (applause). This noble building has been erected within the last four months, and I am sure all present cannot but admire its graceful style, and wish the undertaking every success (applause). Now, inasmuch as a worthy friend has kindly promised to address the meeting upon all questions relating to Eisteddfodau, and who I am sure you will all be glad to hear, it is not my intention to occupy your notice only for a very short time. History informs us that Eisteddfodau were established by our forefathers for the intellectual, moral, and material advancement of the people; and no doubt they possess important elements for that purpose, and in these days of mental activity, education in all its branches is regarded by all thoughtful men of the first importance to our national prosperity. Intellect of a high order, combined with goodness and usefulness, may be considered as forming the most perfect character a man can expect to attain; but a great mind without pure principles to govern and to rest upon seldom proves of much service to society. Lord Bacon had an intellect that astonished all Europe, and held the highest office in the land; and yet he is described by Pope and Macaulay as the greatest and meanest of mankind. In addition to our National Eisteddfod I rejoice to add that we can now boast of possessing a national university (cheers) which no doubt will prove of great service to Wales. and, I trust, will soon receive Government support (loud cheers). To friends that have been for months engaged in preparing their various compositions upon various subjects, and to the members of the respective choirs, I venture to offer the advice, not to be discouraged if you fail in present efforts, and do not exclaim, like Byron, in despair:—

"The day of destiny is over,
The star of my hope is declined."

But rather be more determined than ever to attain the object of your aspirations. The first great point to secure success is "To know thyself, know thy work, and do it well." You may then safely expect success soon to follow (loud applause). But before I resume my seat, I invite your attention to the names you find placed above the platform, who since the last National Eisteddfod have been removed by death, and who were men that have rendered invaluable services to Welsh literature. "They are not lost, but gone before;" and in grateful remembrance of their memory, and in testimony of our sympathy with their families and friends, I ask you to stand up for a moment in solemn silence, and then resume your seat. Now, ladies and gentlemen, I do not see the necessity of addressing you again in Welsh; and I shall, therefore, at once, hand over the duties of this meeting to our worthy friend, Llew Llwyfo, the conductor for the day (loud and continued applause).

Cydymffurfiodd y dyrfa anferth â deisyfiad y Llywydd. Derbyniwyd y sylwadau gydag uchel gymeradwyaeth.

Ar ganol anerchiad y Cadeirydd, arweiniwyd y Prif Feirniad Cerddorol i mewn, Dr G. A. Macfarren.

Yna rhoddodd y Maer arweinyddiaeth y cyfarfod i Llew Llwyfo, yr hwn a apeliodd am gydymdeimlad a chynorthwy pawb o'r gwyddfodolion. Cwynid yn aml fod cyfarfodydd boreuol yr Eisteddfod yn rhy faith, a'u hamcân y diwrnod hwnw ydoedd myned trwy y program mor fuan ag y gellid, ac nis gellid gwneyd hyn heb gael cynorthwy pawb—y cystadleuwyr a'r gwrandawyr.

Wedi i'r Llew ganu "Cân yr Eisteddfod," y dyrfa yn ymuno yn y cydgan, awd yn mlaen yn y drefn ganlynol:—

Anerchiadau y Beirdd. Ni ddaeth neb yn mlaen; peth lled ryfedd mewn cysylltiad â'r Eisteddfod Genedlaethol.

Darllenodd Syr Llywelyn Turner ei feirniadaeth ef a Mr John Davies (Gwyneddon), ar y traethawd goreu ar "The Industrial Training Ship, &c.," am yr hwn y cynygid gwobr o ddeg gini. Allan o wyth o gystadleuwyr dyfarnwyd y wobr i "Gwladgarwr," sef Mr Owen Parry, *Daily Press* Office, Bristol.

Am y set o ornaments llechi goreu, am yr hyn y cynygid gwobr o 2p 2s, ni ddaeth yr un i fyny â'r safon, ac felly ataliwyd y wobr.

Cafwyd beirniadaeth Yr Estyn ar y cyfleithiad goreu i'r Saesneg o benillion yr anfarwol Eben Fardd, "Paham y dirmyga'r annuwiol Dduw?" Yr oedd y cystadleuwyr yn rhifo un-ar-ddeg. Yr oedd y feirniadaeth yn wir ddoniol, ac yn deilwng o wreiddioldeb Yr Estyn. Y buddugwyr ydoedd "Beuno Clynog," sef Mr John Williams, llyfrwerthwr, Caernarfon, a "Heber," sef Mr J. J. Paul, Bangor. Ataliwyd y tlws gan fod dau gydfuddugwr.

Cystadleuaeth mewn chwareu ar y crwth, De Boosey's 6th Air, &c. Dau ymgeisydd. Traddododd Dr. Macfarren ei feirniadaeth. Cafodd y derbyniad mwyaf brwdfrydig. Dywedai ei fod yn teimlo yn ofidus nas gallai anerch y gynulleidfa yn eu hiaith anwyl a phrydferth. Dyfarnodd y wobr i Master Hywel Williams, Caernarfon, y crythor Cymreig enwog. Arwisgwyd ef gan Master Pugh, mab y llywydd, yn nghanol aml guriadau dwylaw y dorf.

Galwodd y Maer ar y Parch E. Herber Evans, yr hwn a draddododd yr anerchiad canlynol:—

Pan yr oeddid yn clodfori Syr Humphrey Davey am ddarganfod lamp y mwnwr, ac amryw ddarganfyddiadau ereill, dywedodd—"Fy narganfyddiad pwysicaf i ydyw Michael Faraday." Efe oedd wedi gweled athrylith y llanc hwnw, ac wedi ei osod ar ben y ffordd i ddyfod yn brif ddyn ei oes, a theimlai Syr H. Davey byth mai Faraday oedd ei brif ddarganfyddiad ef. Beth bynag a ddywedir yn erbyn yr Eisteddfod a'i harferion, syr, y mae'n rhaid addef ei bod hi wedi darganfod, wedi codi, wedi cychwyn llawer llanc a dynes ieuanc ar eu gyrfa ydynt wedi hyny wedi gwneyd eu marc ar y byd. Y mae ein Gwyl Genedlaethol wedi byw yn rhy hir bellach i wneyd unrhyw fath o *apology*—o esgusawd —dros ei bodolaeth. Y mae y ffaith ei bod hi yma yn dyfarnu ei chadeiriau—o Gadair Urien Rheged yn 517 hyd gadair Caernarfon 1877—*yma*, yn diwyllio a meithrin barddoniaeth a llenyddiaeth y genedl—yma, drwy'r canrifoedd yn dyrchafu y Cymry yn gymdeithasol, yn ddeallol, a moesol,—y prawf goreu fod gwir fywyd yn yr hen sefydliad. Y mae wedi byw yn rhy hir bellach i fyned a'i het yn ei llaw i erfyn ar y newyddiaduron Seisnig, "Os gwelwch yn dda, peidiwch a'n gwawdio." Y mae ambell i ddyn, syr, drwy ei oes yn ymesgusodi, yn apologisio am ei fodolaeth: "Begio eich pardwn chwi wir, syr, am fy mod i yma yn y byd ar eich ffordd chwi." Ond rhoddwch i mi ddyn sy'n sangu'r ddaear fel un yn teimlo fod ganddo hawlfraint ddwyfol i fodolaeth, tra y mae'n cael bywyd gan ei Roddwr,—byth yn gofyn i neb arall am ei le yn y byd; ac y mae rhai o honom yn gofyn lle go fawr. Nid yw yn un rhyfeddod

fod y dynion sydd yn ymesgusodi dros eu bodolaeth eu hunain yn parhaus ymwrando beth a ddywed pobl ereill am ein hen arferion gwladol—a ydynt yn foddlon iddynt gael byw. Byw, syr! y mae yr hen gynghor cenedlaethol hwn wedi byw allan gannoedd o sefydliadau a bleidiwyd gan ein gwawdwyr, ac y mae eleni yn fwy tebyg o fyw nag erioed. Crwydro o le i le, a chodi ei thabernacl yma a thraw yn yr anialwch y mae yr Eisteddfod wedi bod hyd yma. Ond yn awr dyma hi wedi dyfod i'w dinas ei hun—Jerusalem Cymru, ac wedi cael ei theml arhosol, a hono wedi ei chodi o haiarn i gyd, oll o gynyrch gwlad yr Eisteddfod. Ha, dim rhagor o fegio pardwn am ei bod hi yma: yr ydym ni fel cenedl wedi bod yn llawer rhy barod i glustfeinio am farn ein cymydogion am dani. Gadewch i ni fyned yn mlaen a gwneyd ein gwaith, a diwygio yr hyn sydd yn ddiffygiol, a pherffeithio yr hyn sydd yn rhagorol, a gallwn benderfynu os na chawn ni ein gweled a'n canmol, mai arnom ni bydd y bai. A oes eisieu esgusawd am fod 15 cant o ymgeiswyr i gymeryd rhan mewn cydymgais eisteddfodol? Onid yw egwyddor cydymgeisiaeth yn awr yn ein *competitive* eisteddfodau wedi ei mabwysiadau gan Lywodraeth Prydain yn rhaniad ei holl swyddau? Mae y rhan fwyaf o lawer o'r 15 cant hyn yn Gymry, a sonir llawer am adloniant y dyddiau hyn. Nid eisiau adloniant (*exercise*) corphorol sydd ar y rhai hyn, ond adloniant meddyliol—a phwy ŵyr am y mwynhad a'r addysg a'r diwylliant y mae parotoi ar gyfer yr wyl hon wedi ei roddi i'r 15 cant hyn a'u teuluoedd? Clywsoch am y ceffyl yn yr odyn galch ydoedd yn gorfod troi, troi yn yr un fan a'r lle drwy'r wythnos, ond ar y Sabboth troid ef allan i'r borfa, ac ni wyddai y ceffyl am un ffordd well i gael adloniant na throi yn round y ffordd arall drwy y Sul. Ie siwr, troi o gylch y ffordd arall. Chwareu teg ynte i'r gweithwyr hyn, wedi chwysu mêr eu hesgyrn ar hyd y dydd i gynal eu teuluoedd yn ddiwyd ac yn onest, yn hwyr y dydd i gael troi round y ffordd arall i gyfansoddi awdl, neu bryddest, neu draethawd: ac, syr, os na chyrhaedda pob un o honynt y nod, fe ddywedodd rhywun, "Only in pursuing the best that is beyond us, do we find the best that is within us." Wrth ymgeisio at y goreu sydd tu allan i ni y cawn ni afael yn y goreu y tu fewn i ni. Y mae rhai yn rhwym o fethu enill y gadair, y goron, a'r fedal boreu yr Eisteddfod, ond y maent wedi cael gafael yn y goreu ynddynt eu hunain, wedi taro y wythien yn y meddwl a ddeil i'w gweithio am oes gyfan. Dyna enedigaethfraint na fedr yr un Jacob byth ei dwyn oddiarnoch—adnabyddiaeth o honoch eich hunain, a ffrwyth eich diwydrwydd eich hunain; ac fe all colli'r dydd yr wythnos hon fod yn fendith i chwi am eich oes. Fe gyhoeddodd y *Cornhill* y dydd arall am ddyn y gwrthododd pob *insurance office* yswirio ei fywyd yn moreu ei oes, oherwydd ei wendid corphorol, ond fe'i gwnawd mor ofalus gan y wers hon, ac mor ddarbodus, fel y bu fyw nes yr oedd yn 85 oed, ac yn werth 250 o filoedd o bunau. Fe eill y beirniad d iedfrydu eich bod chwithau ar hyn o bryd yn rhy wan i gael eich derbyn i blith y buddugoliaethwyr;

ond os gwna hyny chwi yn fwy gofalus—yn fwy ymdrechgar—gellwch chwithau hefyd ddyfod yn wyr cryfion, a chyfoethogi'ch gwlad â chynyrch gwell na chwarter miliwn o bunau. Ac os collwch chwi y dydd, peidiwch bod yn rhy barod i feddwl mai wedi cael cam yr ydych, a rhedeg i Ogof Adulam wedi moni a digio, ac i boeni pawb â'ch cwynfanau. Waeth i chwi heb, fe â'r byd yn mlaen yr un fath wedi i chwi gilio, a sobr a diflas ydyw ceisio rhwystro peth yn ei flaen, a'i weled yn llwyddo yr un fath drachefn. Coeliwch fi, y mae gormod o syched ar y byd yma am dalent o bob math i beidio ei hedmygu a'i chydnabod pan ddaw i'r golwg. Nid oedd y byd yn gofalu dim am Walter Scott cyn iddo gyfansoddi ei *Lay of the Last Minstrel.* Derbyniwyd ef ar unwaith fel bardd o athrylith; ond pan gyhoeddodd ei *Lord of the Isles*, fe'i gollyngwyd drachefn gan y cyhoedd; a beth pe ba'i Scott yn digio wrth y byd y pryd hwnw, a galw ei hun yn *neglected genius?* Na, fe aeth i'w fyfyrgell, ac fe gyfansoddodd *Waverley*, a llu o rai ereill ar ei hol, nes synu'r byd, a hawlio iddo ei hun anfarwoldeb. Os collwch chwithau'r dydd, ewch a gwnewch yn llawer mwy rhagorol. Mynwch gael eich cydnabod. Cynghor da oedd hwnw a roddwyd gan weinidog craff i bregethwyr a gwynent am eu bod yn cael myned o gyfarfod heb bregethu. Dywedodd wrthynt, "Go home, gentlemen, and let each one of you make himself a necessity." Gwnewch eich hun yn angenrheidrwydd. Y mae Edith Wynne wedi gwneyd ei hun yn *necessity*, &c. Y mae gormod o son am athrylith yn cael ei esgeuluso. Yr unig esgeuluso athrylith a welais i yw'r dyn ei hun yn esgeuluso yr athrylith a roddwyd iddo i fendithio ei oes a'i wlad.

Yn awr, syr, yr wyf fi yn teimlo fod yr Eisteddfod yn allu parod wrth law, trwy ba un y gall gwir wladgarwyr fendithio eu gwlad a'u cenedl. Ie, gallu hollol Gymreig, ac fe geisiwyd trawsblanu y pren i'r Palas Grisial, yn Llundain—(cymeradwyaeth)—ond, fel llawer pren arall, ni thyfai ond yn naear gwlad ein genedigaeth. Dyma esgynlawr cenedlaethol, ynte; ar y llwyfan hwn gall yr Ymneillduwr ddiolch o galon am Ieuan Glan Geirionydd a Nicander; yma hefyd gall yr Eglwyswr ymfalchio yn Eben Fardd, Cynddelw, Caledfryn, a Mynyddog. Yr unig un genedlaethol a feddwn yw, ac os nad yw pob peth yn nglŷn â hi fel y dymunech, diwygier hi. Ynfydrwydd yw dyweyd fod deddfau y cynfeirdd yn ein caethiwo fel na ellir eu diwygio—y maent wedi newid yn barod. Yn hen Eisteddfod Caerfyrddin, yn nechreu y ganrif, ac eisteddfodau ereill, y llywydd oedd y beirniad, ac yr oedd yn ffurfio ei farn yn y fan a'r lle, ac yn ei chyhoeddi. Y mae yr hen arferion wedi eu newid yn barod. (Cymeradwyaeth). Diwygier eto, gan gofio dywediad Gruffydd ab Nicholas yn yr Eisteddfod hono, "Nid da lle gellir ei well." (Clywch, clywch). Glanhaer hi, oblegid ni fedd yr un blaid yn y deyrnas, pe y mynent, ddigon o ddylanwad i'w diwreiddio, na'i thori i lawr. Defnyddier hi, ynte, i chwilio a chyhoeddi cofnodion hanesyddol a gweddillion llenyddol y genedl. Dywedir fod yna ugeiniau o

gyfrolau wedi eu casglu gan Ieuan Brydydd Hir a Dafydd Ddu o Eryri, ac eraill, wedi eu cloi mewn hen gistiau yn mhalasdai Cymru, heb eu gweled er's blynyddoedd. Defnyddier hi i chwilio am y rhai hyn—i sychu llwch llawer oes oddiar y trysorau cudd hyn. Apwyntied yr Eisteddfod hon ryw un i'w chwilio allan a'u dwyn i'r goleu; pwy ŵyr beth all fod eu gwerth i'r genedl, ac i astudwyr hanes y Celtiaid a'u hiaith sydd yn awr yn lliosog yn Germani a gwledydd eraill. Dywed Victor Hugo nad yw enwogrwydd yn croesi'r môr yn hawdd; ei bod wedi cymeryd 130 o flynyddoedd i enw Shakespeare groesi o Loegr i Ffrainc. "What we want is to know the Celt and his genius, not to exalt him or abuse him." Fel yna y dywedai Matthew Arnold pan yn talu clod uchel i'n cydwladwr enwog Owen Jones—golygydd y *Myfyrian Archæology*—llanc ieuanc o Ddyffryn Myfyr, a osododd ei nod, cyn gadael Sir Ddinbych am Lundain, yn 19eg oed, i gasglu a chyhoeddi hen ysgrifau am ei wlad. Treuliodd 40 mlynedd mewn masnachdy yn Llundain i enill arian, nid er mwyn yr arian, syr, ond er mwyn cyrhaedd nod ei fywyd; ac wedi enill yr arian, dechreuodd gasglu a chyhoeddi, ac fe a gyhoeddodd ei dair cyfrol fawr sydd yn awr yn cael eu hastudio mewn llawer gwlad. Dyma Gymro a fu'n ddiwyd am 40 mlynedd, er cael arian i wasanaethu Cymru a Chymraeg. O! am olynydd arall i Owen Jones o Ddyffryn Myfyr, (uchel gymeradwyaeth). Defnyddier yr Eisteddfod yn nesaf eto i gyrhaedd ei hamcan arall, i feithrin a dadlenu talent y Cymry. Pan ddeuir o hyd i fab neu ferch o wir athrylith rhodder help a chefnogaeth i'r cyfryw. Ai nid oes gormod o areithiau wedi eu traddodi oddiar lwyfan yr Eisteddfod i brofi mai Cymro oedd y gwr enwog hwn, ac mai Cymro oedd y llall? Am danaf fi fy hun, Mr. Cadeirydd, ni roddwn i ddim botwm corn am brofi fod y dyn enwocaf drwy'r gwledydd yn Gymro, os ydyw ef am wadu hyny ei hunan. Ein gwaith ni yw dyrchafu ein cenedl yn ei harferion a'i moesau, ac yr ydym wedi gwneyd hyny—wedi ei gosod ar y pinacl—wedi argyhoeddi ei phobl mai y cyfaill goreu i rinwedd yw'r cyfaill goreu i'r wlad. Ond rhaid ei chodi eto mewn dysg a gwybodaeth, ac yr ydym ar y ffordd i wneyd hyny—fel y bydd ambell Ysgotyn a Sais yn dechreu chwilio ai nid oedd gwaed Cymreig yn ei nain neu yn ei daid. Y mae gwyliau cenedlaethol pob cenedl yn arddangosiad o'i chymeriad. Dwy wyl fwyaf poblogaidd y Cymry yw y Sassiwn a'r Eisteddfod, ac os oes ysgariaeth yn bod yn mhlith ein cymydogion rhwng llenorion eu gwlad â chrefydd, nid felly yn Nghymru. Gwelir yr un rhai yma galon wrth galon yn y naill fel y llall. Edrycher tu ol i ni, onid ydyw yr Eisteddfod heddyw mewn galar ar ol dau lenor a dau weinidog? Defnyddier hi yn nesaf eto i gyrhaedd ei hamcan mawr arall,—i ddyrchafu ein cenedl yn gymdeithasol, yn ddeallol, ac yn foesol. Dywed un o'r prif awduron Seisnig fod gan ei genedl ef ryw ffordd beryglus o geisio diwygio pob peth i ffwrdd oddiar wyneb y ddaear ond Sais a Saesneg, ac efe ei hun. (Cym.) Nid ydym ni yn meddwl diwygio ein

hunain i ffwrdd o'r ddaear, syr; na, yr ydym yn credu mewn amrywiaeth, ac fod ei le i'r Cymro, ond yr ydym am ddiwygio ein cenedl, nid i ffwrdd, ond i fyny. Fe'i gelwir hi weithiau, syr, yn Gymru dlawd! ond yr wyf yn tystio yn erbyn Cymru dlawd! 'Dyw Cymru ddim yn dlawd. Yr oedd y Sacson yn meddwl ei bod hi, pan ddarfu ein gwthio ni i'n mynyddoedd, ond yr oedd Duw wedi meddwl rhywbeth gwell am yr hen genedl dlawd, syr! Y mae yma gyfoeth o lo yn seleri ei mynyddoedd; y mae yma gyfoeth o fwnau eto yn ei chilfachau neillduedig hi; y mae yma gyfoeth o lechau yn ngheseiliau ei bryniau. Tybed, syr, nad oes cyfoeth o dalent yn meddyliau ei phlant. Oes, syr, cystal talent yn meibion a merched Cymru ag sydd yn meibion a merched unrhyw wlad ar ddaear Duw (clywch, clywch, a mawr gymeradwyaeth) ddim ond i ni gael yr un chwareu teg wrth gychwyn. Rhodder i ninau hefyd ein Prifysgol fel y Scotiaid a'r Gwyddelod—yr ydym mor *loyal* a hwythau. Yr ydym yn caru ein gwlad. Plant y mynyddoedd yw plant yr Eisteddfod, ac y mae plant y mynyddoedd yn mhob oes yn byw ar eu gwladgarwch, felly yn Switzerland,—cewch yn nghlyw y Swiss, yn unrhyw ran o'r ddaear, rai o'r hen dônau a glywodd yn mynyddau yr Alps; fe fydd iddo fel gwaedd mam am ei phlentyn—fe grea hiraeth am ei wlad. Beth oedd gofid mwyaf poenus yr Hebrewr a fagesid yn mynyddoedd Palestina ond fod ei delynau ar yr helyg mewn gwlad estronol,—na fedrai ef ddim canu caniadau ei wlad, ond yn nghilfachau ei hen fynyddoedd. Y mae genym ninau ein caniadau; os ydynt yn bruddaidd y maent yn felus i ni. Gallant chwareu â thannau ein calonau nes ein llenwi â thristwch hyfryd a swynol. Y mae ein gwlad yn llawn barddoniaeth; y mae swyn i ni yn ei dyffrynoedd ffrwythlawn a'i nentydd distaw. Y mae ei hen gofion,—ie, ei hen draddodiadau os mynir, yn fyw ac yn arogl i'w phlant, ac yn gwneyd Cymru benbaladr yn rhamant ogoneddus. Gallwn dafiu ein hysbryd i gân un o'n beirdd diweddaf yn ei DRYDYDD CYNYG, a gyhoeddodd draw yn Amerig bell—

P'am na chaf finau dd'weyd am dro,
  Fy anwyl hen, hen Gymru.

  Mae hen feddrodau yno fyrdd,
    Yn cuddio hen wroniaid,
  A symledd pur hen dyweirch gwyrdd
    Uwch llwch yr hen ffyddloniaid;
  Ond crefydd bur, a rhin a moes
    Hen Gymry sy'n y graian,
  Sy'n ieuanc byth o oes i oes,
    'Run fath a Duw ei hunan.

Fy hen, Hen Wlad, &c.

  Fy hen, Hen wlad,
      Trwy bob tywydd garw,
      Nes y byddaf fi farw,
  Mae'm henaid fel eiddew am wddw
  Fy hen, Hen Wlad.

Beirniadaeth ar y "Ddau englyn Beddargraph Hu Gadarn (Mr W. Griffith, Ty Mawr, Clynnog)." Gwobr, gini, gan Mr Morris, y Liver Establishment. Darllenodd Ioan Arfon ei feirniadaeth ef, Hwfa Mon, a Gwilym Padarn. Y buddugol ydoedd Morwyllt. Arwisgwyd ef gan Master Pugh.

Daeth Madame Edith Wynne yn mlaen a chanodd "The Pilgrim's Path," gan Brinley Richards, yn rhagorol.

Y peth nesaf y deuwyd ato ydoedd y feirniadaeth ar y gosteg o ddeuddeg englyn "Y Misoedd." Gwobr, 3 gini. Darllenwyd y feirniadaeth gan Ioan Arfon. Daethai 16eg o gyfansoddiadau i law. Yr oedd y feirniadaeth yn faith. Dyfarnwyd Brython, sef Morwyllt, yn oreu. Arwisgodd Master Pugh gadeirfardd Mon.

Beirniadaeth ar y "Bugeilgerdd." Gwobr, 5p. 5s. Beirniaid, Ceiriog, y Parch. J. H. Evans, a Dafydd Morganwg. Darllenodd Dafydd Morganwg y feirniadaeth: a chan fod y feirniadaeth i'w chyhoeddi eto, barnodd yn ddoeth gyfyngu ei sylwadau yn unig i hyn, sef enwi y buddugwr, yr hwn a gaed yn mherson Mr. Edward Lloyd, Coleg y Methodistiaid Calfinaidd, Bala.

Am yr Awdl Ladinaidd ar "Castell Dinas Bran," cynygiwyd gwobr o 5p. 5s. i fechgyn Cymreig o dan 21 oed. Darllenwyd beirniadaeth Mr. Osborne Morgan. Y buddugol ydoedd Mr. G. Randall Astley, Llanrwst.

Cafwyd cân gan Mr. Hopkins, U.C.W., Aberystwyth, a chwareuwyd y cyfeiliant gan Mr. R. S. Hughes, Aberystwyth.

Ar y Gan Ddesgrifiadol yr oedd chwech o ymgeiswyr, ond nid oedd un yn deilwng o'r wobr gan eu bod yn fyr o gyrhaedd y safon.

Yn nesaf deuwyd at y traethawd ar "Lechchwarelau Arfon," am ba un y cynygiodd Mr. Darbishire wobr o 21p. Darllenodd Mr. Fanning Evans y feirniadaeth. Daethai chwech o gyfansoddiadau i law. Y goreu o'r rhai hyny ydoedd yr un yn dwyn yr enw "Experience," ond methodd hwnw foddloni y beirniaid, ac ataliwyd y wobr.

Canu pennillion oedd y peth nesaf ar y program. Pan alwyd y rhan hon o'r program, yn ol trefn y program, gwelid fod y triawd yn fyr o un, sef

Owain Alaw, yr hwn oedd ar y pryd yn yr ysgoldy yn beirniadu yr ymgeiswyr cerddorol. Pan alwyd hwy eilwaith yr oedd pethau yr un fath, ac yn ngwyneb hyny canodd Idris Vychan a'r Llew. Y mesur a ddewisasant ydoedd "Serch Hudol." Chwareuwyd y delyn gan Mr. John Elias Davies, Telynor y Gogledd. I aros dychweliad Owain Alaw, yr hwn oedd i chwareu y cyfeiliant i Madame Patey, cafwyd perfformiad gan y seindorf.

Cân, "Voi che sepete" (Mozart), Madame Patey.

Cafwyd beirniadaeth Dr. Rogers ar y cyfansoddiad cerddorol goreu ar eiriau Cymreig, cyfaddas i chwech o leisiau. Allan o bedwar o ymgeiswyr y goreu ydoedd "Wheldon"—Mr. D. D. Jones, Llanymddyfri.

Dim ond un parti, sef Mr. Howel Williams a'i gyfeillion (String Band) a ddaeth yn mlaen i ymgystadlu ar y fantasia "Fleurs du nord." Perfformiad rhagorol. Dyfarnodd Dr. Macfarren a'i gydfeirniaid yr offerynwyr hyn o Gaernarfon yn deilwng o'r wobr.

Cyn cael y feirniadaeth ar rhif 21, cyflwynodd Llew Llwyfo Mr. G. H. Whalley, A.S., i sylw y cyfarfod.

Wedi hyn, rhoddodd Dr. Macfarren ei feirniadaeth ar rhif 21, sef y datganiad goreu o "Hear ye, Israel," o Oratorio Elijah, am yr hyn y cynygiwyd gwobr o 3p. 3s., ac wrth wneyd, talodd deyrnged neillduol i dalent gerddorol y Cymry, a mawr ganmolai ddatganiad y saith fu yn ymgeisio. Cytunai y pedwar beirniad mai yr un a gyfenwai ei hun 'South Walian' ydoedd yr oreu—Miss Eleanor Rees, Castellnedd. Yn unol â'i haelioni cyffredinol ac adnabyddus, rhoes Madame Patey wobr o ddwy gini i'r ail oreu, yr hon a adwaenid wrth yr enw 'Un o'r gymydogaeth'—Miss Hannah Williams, Llanllyfni.

Wedi derbyn y gwobrwyon datganodd y ddwy foneddiges ieuainc y dernyn oedd yn destyn. Dr. Rogers yn chwareu y cyfeiliant. Tra yr oedd Miss Williams yn canu, cymerodd digwyddiad le, yr hwn a achosodd gynhwrf anghyffredin—llithrodd darn o bren oedd wedi ei adael ar dô y babell, rywfodd neu gilydd, gan achosi cryn drwst. Cododd y mwyafrif o'r gynulleidfa ar eu traed mewn

dychryn ac arswyd, fel pe b'ai y tô ar ymollwng ar eu penau. Llewygodd un foneddiges, ond adferodd yn fuan. Rhoes y Llew eglurhad boddhaol, yr hyn a dderbyniwyd gydag uchel gymeradwyaeth. Ail ddechreuodd Miss Williams, a chanodd yn odidog.

Dilynwyd hi gan Miss Rees, yr hon a wnaeth berffaith gyfiawnder â'r datganiad.

Yn awr daethpwyd at brif waith y dydd, sef y Gystadleuaeth Gerddorol, agored i'r byd, i gorau heb fod yn rhifo llai na 130, na thros 150 o leisiau. Gwobr, i'r goreu, 105p. a medal i'r Arweinydd, a 21p. i'r ail. Y darnau i'w perfformio ydoedd "In tears of grief," a "The Night is departing." Y beirniaid oeddynt Dr. Macfarren, Owain Alaw, a Dr. Rogers. Dau gôr a ddaeth yn mlaen i faes y gystadleuaeth, sef Undeb Corawl Caernarfon, dan arweiniad Mr. W. J. Williams, a Chôr Undebol Waenfawr, dan arweiniad Mr. Owen Griffith (Eryr Eryri), wedi eu hyfforddi gan Mr. J. H. Roberts (Pencerdd Gwynedd).

Yn aros dyfarniad y beirniaid, dywedodd y llywydd fod Mr. Whalley, A.S., wedi dymuno arno gyflwyno y penderfyniad canlynol i'r cyfarfod, sef —Fod diolchgarwch y cyfarfod hwn, sydd yn cynrychioli cynifer o ranau y Dywysogaeth, yn cael ei gyflwyno i'r Môrlys am eu sirioldeb yn rhoddi y Llong Hyfforddiadol, *Clio*. Cariwyd hyn yn unfrydol.

Yna traddododd Dr. Macfarren feirniadaeth fanwl ar y brif gystadleuaeth gerddorol, a dyfarnodd y wobr i Undeb Corawl Caernarfon, arweinydd yr hwn a wisgwyd yn nghanol banllefau uchel. Cafodd arweinydd Côr Undebol Waenfawr gyffelyb dderbyniad wrth ddyfod i fyny i dderbyn yr ail wobr.

Terfynodd hyn weithrediadau y diwrnod cyntaf.

Yn yr hwyr cafwyd cyngherdd clasurol, o dan arweiniad Mr. James Rees, Caernarfon.

## DYDD MERCHER.

Yr oedd y tywydd heddyw yn hynod anffafriol ar ddechreu y gweithrediadau, ac nid oedd y neuadd mor orlawn a'r diwrnod blaenorol. Modd bynag, daeth llawer o ddieithriaid i'r dref, ac yr oedd y bywiogrwydd mwyaf yn bodoli.

Agorwyd yr orsedd fel arferol yn y Castell am naw o'r gloch, ac oddiyno gorymdeithiwyd i'r babell enfawr, yr hon oedd weddol lawn. Llywydd y cyfarfod boreuol ydoedd Arglwydd Penrhyn, arglwydd raglaw y sir. Yr arweinydd ydoedd Yr Estyn.

Ar y llwyfan yr oedd Syr Llewelyn Turner, Mr. Whalley, A.S., Mr. Ellis Eyton, A.S., Mr. James Rees, Professor Macfarren, Mrs. Macfarren, Mr. H. Pugh, Dr. W. W. Roberts, Parch. J. H. Evans, Hwfa Mon, Clwydfardd, Mr. J. P. de Winton, Owain Alaw, &c. Yn yr eisteddleoedd blaenaf, gwelsom nifer o brif foneddigion yr ardal.

Dywedodd Yr Estyn fod yn ddefod i agor yr Eisteddfod trwy gorn gwlad. Bu ef mewn Eisteddfod heb yr un corn ynddi, ac felly agor Eisteddfod trwy "gorn gwddf" ydoedd hyny (chwerthin). Ond gan fod corn yn hon, yr oedd yn cael ei hagor trwy alw ar y seindorf i chwareu (cymeradwyaeth).

Chwareuodd Seindorf Bres Caernarfon mewn modd rhagorol iawn.

Cyn galw ar y Llywydd i roddi anerchiad, dywedodd Yr Estyn, os edrychent ar yr almanac, gwelent fod *eclipse* ar y lleuad nos Iau. Byddai Mynyddog yn hoff iawn o ddyddio ei lythyrau o'r lle hwnw, ac yr oedd *eclipse* ar ei swydd ef (Yr Estyn) hefyd. Gobeithiai y caffai eu cydymdeimlad y diwrnod hwnw, gan mai nid peth hawdd oedd i ddyn bach fel ef sefyll yn esgidiau Mynyddog pan yr oedd yr olaf yn fyw, ond mor anhawdd ydoedd gwneyd hyny ar ol ei farwolaeth. Ni byddai Mynyddog byth yn difrio neb. Boed iddynt ei efelychu (cymeradwyaeth).

Yna galwyd ar Arglwydd Penrhyn i draddodi ei anerchiad agoriadol, a derbyniwyd ef y waith hon gyda brwdfrydedd anarferol. Traddodwyd yr araeth yn Saesneg, a chyhoeddwn hi yma yn union fel yr ymddangosodd yn y *North Wales Express*:—

The President thanked the audience most heartily for the kind reception they had accorded him, for which he felt extremely grateful. At the same time, he felt under what great disadvantage he laboured in being unable to address the audience in Welsh, as also his inability to understand that part of the proceedings which would be conducted in the Welsh language. Whilst recognising this circumstance as a great disqualification for the honour the committee had paid him, he felt himself labouring under another disqualifiaction which came more apparent year by year, and that was age; and he wished some younger person had been selected to occupy the post he now filled. ("No, no.") He had observed in the army regulations recently promulgated for the retirement of general officers, that their retirement was compulsory after they had attained their 70th year; but when he pleaded that with regard to the Eisteddfod, the relentless hearts of the committee were steeled against such an excuse, although he was long past 70. It was now fifteen or sixteen years since he occupied the same position at the Carnarvon National Eisteddfod, and he then took what was considered the bold step of remarking upon the tendencies shown by some speakers at eisteddfodau to exalt—as was very natural—the superiority of the Welsh people over all others, but at the expense of decrying the English portion of the community. (Hear, hear.) He then said, and he still adhered to the statement, that this course was impolitic and hardly fair—(hear, hear)—and he was glad to observe in late years that this tone had been very much discontinued. Those who promoted and assisted in these gatherings had but one object in view—the advancement of the tone of morality and the extension of civilisation over the whole area of the United Kingdom. (Hear, hear.) It was by cordial union and co-operation, and not by dis-union and dissentions, that these objects could be readily and successfully attained. He had no wish to run down honourable emulation; on the contrary, he had always tried to encourage it—(hear, hear)—but let them go on in what, in sporting parlance, was called "straight running," and all join together heartily and honourably in advancing the same cause they all had in view—the promotion of those good objects which would tend to foster and increase national culture and the moral and social improvement of the nation. (Hear, hear.) The programme was made up chiefly of musical competitions, and as it was well known that the Welsh had a special talent and warm love for music, he hoped that upon all occasions where there were public competitions they would, as a musical people, come forward and take that prominent position to which they were entitled, and which they ought to hold.

Yna cafwyd anerchiadau barddonol gan Trevelyn a Dewi Glan Dulas.

Dyfarnwyd y wobr o 5p. 5s. a thlws, am y cyf-

ieithiad goreu i'r Saesneg o draethawd Dr. Edwards ar "Hamilton a Mill," i'r un a ymgyfenwai ei hun 'Alshylies,' ond digwyddodd fod yr ymgeisydd hwn wedi fforffetio ei hawl i'r wobr trwy anfon ei gyfansoddiad i un o'r beirniaid yn hytrach nag i'r ysgrifenydd; am hyny rhoddwyd y llawryf i'r ail oreu, sef Mr. O T. Williams, Croesor, Llanfrothen.

Am y Water Colour Drawing goreu o unrhyw olygfa yn sir Gaernarfon, am yr hyn y cynygid gwobr o ddeg gini a thlws, dyfarnwyd 'Gwladwr,' sef Mr. S. Maurice Jones, diweddar o Gaernarfon, ond yn awr o Rosllanerchrugog, yn oreu.

Cafwyd beirniadaeth y Parch. Llewelyn Thomas, M.A., o Goleg Iesu, Rhydychain, ar y bryddest oreu yn Saesneg ar "Yr olygfa o ben y Wyddfa." Y cyfansoddiad goreu oedd eiddo 'Penmynydd,' ond ni ystyrid ef yn deilwng o'r wobr, ar yr un pryd gadawai y beirniad hyny at farn y pwyllgor.

Beirniadaeth Mri. R. J. Davids, Caernarfon, a Kennedy, Bangor, ar y Gadair Dderw oreu, am yr hyn yr oedd gwobr o ddeg gini, yr hon a enillwyd gan Mr. John Morris Roberts, Llangollen.

Rhoddwyd y wobr o 15p. 15s. a thlws, am y traethawd goreu ar Enwogion sir Gaernarfon, i Mr. John Jones (Myrddinfardd), Llanystumdwy.

Canodd Madame Edith Wynne.

Am yr Alareb oreu i'r diweddar Mr. John Johnes, Dolaucothi, Caerfyrddin, rhanwyd y wobr o ddeg gini a thlws rhwng y Parch. D. C. Harries (Caeronwy), a Dewi Wyn o Esyllt.

Am yr Agerbeiriant bychan goreu dyfarnwyd gwobr o dri gini i Mr R. H. Hughes, Segontium-terracc, Caernarfon, a Mr R. Griffith, Henwalia, Caernarfon.

Cafwyd cân gan Madame Patey.

Rhoddodd Proffeswr Hughes, mab Esgob Hughes, Llanelwy, araeth Seisnig ragorol ar yr Eisteddfod a'i thraddodiadau. Fel hyn yr ymddangosodd yn y *North Wales Express*:—

He said "That in looking down on the programme that had been given to him, he saw a great mixture of things both old and new, and upon that programme he would hang his remarks. He was sorry that he had lived so long in the land of strangers away from Wales, that he was unable to address the audience in the Welsh tongue, although his sympathies and all his habits of thought were thoroughly with them. (Ap-

lause). Looking on that great institution as an educational one principally, he would ask the question, What is the position of the Eisteddfod in the present state of society in the country? He thought that while they must bring *penillion* and the triple harp, things that were connected with their old traditions, it was true that they could never buy back with gold their old associations. (Hear, hear). But he also saw that they gave prizes for essays upon philosophy, and water colouring; and he found here that the old custom of carving in oak was still kept up, a practice that had been re-introduced into North of England during the 17th century. But, above all, they must keep up with the age. (Cheers). There was not the slightest use of their keeping to the triple harp, when other men could bring the single harp with pedals. Let them keep to their old associations, but also to those that were in vogue in the present day, and therefore he would ask them, while regarding those customs which connected them with past history, not to neglect those of the present. For instance, the violin was an instrument capable of producing the most refined and exquisite touches; let them, therefore, make a feature of prizes for that instrument. To carry this little further, in the literature of Wales, they must not forget that although in the palmest days of British history there were produced beautiful poems, such accurate delineations of the human feelings and the beauties of nature; rules of poetry had been made, yet those poets who had produced these masterpieces had not written on these rules, but as in the case of Homer and Virgil, the rules had been formed from their compositions. The Welsh now had their rules for writing odes, but he had trusted that they would not hamper the youthful intellect of this country by being too strict, injudiciously strict, he might say, by defining what style of poetry the young man might adopt. Let them have prizes to urge young men to bring new style of composition, and new styles of music. He ought to say a few words about the old language. He heard some people say about it—"Oes y byd i'r iaith Gymraeg." It was a language destined to live, and live it would, but it was quite another thing to say that they should do anything to prevent their young men learning other languages. They now taught them Hebrew, Greek, French, and so on, and should they not teach them thoroughly also the language which is spoken close by in England. It reminded him of an anecdote told by his father of a lad shouting on Birmingham platform, "Is there anyone here who can speak Welsh," for the poor fellow had had the misfortune to lose the train. If they did not bring up their lads to an English education, they were in fact sending them to fight with bows and arrows against an enemy armed with the Martini-Henry rifle. Then again, as they knew, slates were valuable things, and above all he would urge that their endeavours should be directed to that line, which he had made a special study—the study of geology. Almost all the names of the series of rocks

in geology were named from Welsh strata,—the Cambrian, the Silurian of South Wales. The ignorance of some of the miners and quarrymen in respect to coal-bearing strata was something marvellous, and he had seen a man boring in what looked like black coal bearing slate, when there was not the slightest chance of his finding anything of the sort. Let them have their lads educated in these sciences, so that they would be able to compete equally with Englishmen, to get all the money they could out of the Saxons, and then come back to Wales to spend it in the old country.

Canu Penillion—Idris Vychan (datgeinydd), a Mr. J. E. Davies (telynor).

Rhoddwyd y wobr o bum' gini a medal am y cywydd goreu ar "Gladdedigaeth Moses" i Mr. R. A. Williams, (Berw).

Am y triawd goreu i soprano, alto, a tenor, dyfarnwyd Gwilym Gwent, Wellesbarre, America, yn oreu.

Cynygiwyd gwobrau am ddau englyn i Faer Caernarfon, a hir-a-thoddaid i Arglwydd Penrhyn.

Am y toriad llythyrenau goreu ar gareg, rhoddwyd gwobr o ddwy gini i Edward Evans, Bluestone Quarry, Nantglyn, Dinbych.

Canodd Miss Gayney Griffith (Llanberis), U.C.W., a chafodd *encore* brwdfrydig.

Darllenodd Yr Estyn feirniadaeth y Parch. Llewelyn Thomas, M.A., ar y cyfieithiad Seisnig goreu o benillion Ceiriog Hughes i'r "Fodrwy Briodasol." Y goreu, allan o un ar ddeg o gyfansoddiadau, ydoedd eiddo Geraint — Mr James Clarke, Board School, Llangollen, yr hwn a gynrychiolid gan Gwilym Ionawr.

Dywedodd Yr Estyn fod Professor Macfarren wedi ei foddio gymaint yn y canu y dydd blaenorol fel ag i erfyn yn daer ar y ddau gor i dd'od i'r cyngherdd heno i ganu. Derbyniwyd yr hysbysrwydd gyda boddhad neillduol.

I aros yr ymgeiswyr ar rhif 7 cafwyd *selection* gan y seindorf.

Dyfarnwyd y wobr am y tweed Cymreig goreu i Mr. J. Roberts, Menai Factory, Caernarfon; a'r wobr am y wlanen Gymreig oreu i Mr. W. Hughes, Ffestiniog.

Am y datganiad goreu o'r unawd bass "Tears of Sorrow," allan o Spohr's "Calvary," dyfarnwyd y wobr o dri gini gan y beirniaid, Owain Alaw, Mr.

G. F. Patey, ac Alaw Ddu, i Mr John Bryan (Eos Brychan), Corwen. Arwisgwyd ef gan Arglwyddes Penrhyn.

Enillwyd y wobr am yr "Enamelled Slate" goreu gan Mri. Nicholls ac Owen, Caernarfon.

Ar gynygiad y Maer, wedi ei eilio gan Syr Llewelyn Turner, talwyd pleidlais o ddiolchgarwch gwresog i Arglwydd Penrhyn.

Hysbysodd Yr Estyn nad oedd dim cystadleuaeth ar Rhif 24, sef datganu "Dyna'r gwyntoedd yn ymosod" ("Ystorm Tiberias," Stephens), a'r "Amen" (o'r "Messiah.")

Daeth cor o Ffestiniog i'r dref gyda'r bwriad o gystadlu ar y darnau agored i gorau o chwarelwyr. Gan iddynt anfon yr enw i fewn yn rhy ddiweddar, gwrthodwyd iddynt gael cystadlu.

Diolchodd Arglwydd Penrhyn am y derbyniad croesawgar a gafodd, ac wedi i'r seindorf berfformio "Ymdaith Gwyr Harlech," ymwahanwyd.

---

## DYDD IAU.

Agorwyd yr Orsedd am naw o'r gloch gan Yr Estyn, a'r derwyddon ereill, Urddwyd y personau canlynol: — Ofyddion: Meistri. S. T. Jones, (Alawn), Edeyrn, Pwllheli; R. R. Morris, (Rhisiart ap Gwilym), Rhyd-ddu, Beddgelert; William Williams, (Anelyf), Holywell-terrace, Caernarfon; a Thomas Drew, (Y Dryw), Hirwaen, Morganwg. Pasiodd yr oll ohonynt yn dra llwyddiannus. Hysbyswyd mai yn Birkenhead y cynhelid yr Eisteddfod am 1878, ac yn Nhreffynon am y flwyddyn 1879. Yr oedd Mr Ellis Eyton, A.S., wedi rhoddi 100p. tuagati. Galwodd Ceiriog sylw at y priodoldeb o ffurfio pwyllgorau lleol i gymeryd i ystyriaeth y priodoldeb o ffurfio cronfa goffadwriaethol i Mynyddog. Cynhaliwyd y cyfarfod yn y Guild Hall i ystyried y mater hwn yn y prydnawn.

Dechreuwyd yr Eisteddfod am haner awr wedi deg, pryd y cafwyd *selections* gan y Seindorf.

Arweiniwyd y Llywydd, Syr Llewelyn Turner, i fewn, a chafodd dderbyniad cynes a chroesawgar. Anerchodd y Llywydd y cyfarfod yn hyawdl. A ganlyn ydoedd ei araeth:—

A dir, mewn clysni, 'r maen clo
Yn natur yw hon eto.

Lon-ael eilun, lân lili,—a delw'r
Dihalog oleuni;
Gwên dyner, ganaid, ini,
Greodd Ion ar ei grudd hi.

Amdroau'i gwallt modrwyog—gudd wisga
Ddwy ysgwydd eiryog;
Derch hirwallt yn dyrch eurog,—drwyddo'r chwa
Ei meinfys dy̆na,—mae'n fyw, sidanog.

Rhyw dirion rwydwe euraidd—serch didranc,
Am y gwr ieuanc wna'i threm garuaidd.

Ac O! fe red gwefr ei hiaith
Drwy ei enaid ar unwaith;
Yna llwyr addola'r llanc
Ei dduwies lânwedd ieuanc.

O'i fynwes hoff profion serch—ŷr â chân
Wreichiona gan draserch;
A dena'r fwyn, dyner ferch,
A'i arddunol gerdd anerch.

Yn raddol mae'n rhoi iddaw,
Yn llon, ei chalon a'i llaw.
Rhyw ddydd fe unir y ddau
Yn dŷn mewn serch-gadwynau.

Yn eu huniad, anwahanol—ydynt,
Drwy osodiad dwyfol:
Rhed eu hoes briodasol—yn dirion
Dawelwen afon rhwng dolau nefol.

Ieuenctid prid Paradwys,
Cariad yw'th wlad fythol, lwys!
Llanerch a rhos llawenydd—goreu byd
Yn ymagoryd rhwng ei magwyrydd!

Daw'r enyd wedi'r uno,—âg had teg
Eu ty ga' 'i fendithio;
O'u cylch rhai mân, dyddan do,
Wele geir yn blaguro.

Ar eu haelwyd siriolwedd—fe erys
Difyrwch diddiwedd;
A'u bron hwy a dibrin hedd
Leinw'u tŷad plant hoyw-wedd.

Yn y cryd mad cariad mwyn,
A'i heirdd, glir ros-ruddiau glân;
O! mae'n hardd,—gwena mewn hûn,
Fel tae'n ymyl engyl Ion.

Oes engyl yn mud wylio
Uwch ael ei fach wely fo;
Gwel'd ei yrfa i'w diwedd—
Drwy y byd o'r cryd i'r bedd;
A dilwgr wel'd ei ael gron,
Loyw-wawr ef dan lawryfon;
Goludog wlad y gloywder
A'i wobrau sydd heibio'r ser?

Heb un clwy a hwy'n fywyd,
Ac yn gân a gwên i gyd;
Lle eu taid gwynwallt ydyw—
Yn y gongl yn wan a gwyw.

Sieryd â'i chwarëus ŵyrion,—a rhwydd
Adrodda'i helyntion:
Tania "taid" eu llygaid llon
A'i hynawsaf hanesion.

Deiliaid gwlad Ie'nctid wiwlon—
Onid hardd yw'r fintai hon?

Gwawr deg o hyd, gwrid a gwên
Urdda'u gruddiau goraddien!
Mae iechyd a hyfryd hwyl
Yn mhob un o'i meib anwyl;
Ei llon wŷr sydd yn llawn nerth,
A'u byw rodfa yn brydferth;
Byd o obaith—byw diboen,—
Yn mhob dim bywyd a hoen:
Yn ngwên ei hwybren loywbryd
Fe chwardd digrifwch o hyd.

A'u bochau gwridog, bychain,
A'u llun a'u gwedd oll yn gain,
Rhed ei mân rai dymunol,
Ieuainc, iach, yn mlaen ac ol
Hyd lenyrch eu hadloniant,—heb adfyd
Y byd am enyd enhuddo'u mwyniant.

Beichio yr awel mae'u byw chwareuon,
A difyr adlais drwy'r wlad hyfrydlon;
Ar hedfa'u horiau ant drwy'u difyrion,
A'r oes a lifa yn risial afon;
Llithra i ffwrdd heb dwrdd, heb dòn—ar ei gwedd,
Mewn ter, wiw agwedd, myn'd tua'r eigion.

Am yr ysgol mor wisgi—y troediant,
,O! 'r trydar geir ynddi;

Ei hen gorsen a'i gwersi—
Rhyw swyn mawr sy' yno i mi.

Ei chloch a'i halaw uchel—i ni mae
Ei sain mwyn mal dwsmel;
Ein di och foreu'n dychwel
Ynddi fydd o'r newydd fêl.

Maboed ddaw'n ol heb oedi,
Yn nes, nes, yn ei swn hi;
Yn hoff lu, ger bron ei phlant
Amrywiaethol ymrithiant;
A thry yr hen athrawon
Ar hyn o bryd ger ein bron.

Yn dŵr esgud i'r ysgol—hwylia rhai'n,
Fel y rheiny'n hollol;
Er mynych fyn'd drwy'r manol
Wersi, âd ar oes eu hol.

Cynyddant mewn cain addysg,
Onid ânt yn fawr mewn dysg:
I hau'r had, hon yw'r adeg,
Yn ieuant îr wanwyn teg;
Y dyn fed yn nyfodol
Doraeth ehelaeth o'u hol.

Ir eginyn, ar gynydd—y mae'n myn'd,
Mewn modd dystaw beunydd:
Tyf yn dàlbren ysplenydd,—
Yn y wig fawr enwog fydd.

Gofyna gauaf einioes
Yr hyn a wneir wanwyn oes.

Dyma dymor trysori—ar gyfer
Gofid a phenllwydni;
O wario'th adeg deg di
Daw i Afrad hwyr difri.

Ynddo i weithio, 'r iawn ddwthwn
Nodai Ior in' ydyw hwn:
Mae nos hir yn ymneshau—
Nos ingoedd poenus angau;
Nos heb ddydd,—na fydd foddion
Byth i neb weithio yn hon.

Yr ieuanc mewn gorawydd—eheda
I'r dyfodol beunydd;
Ac O! wybren ysplenydd,—
Nef lawn o swyn o'i flaen sydd.

Tir hudol bortreada—i'w aros—
Dedwydd eirian yrfa:

Am wawr y dydd, dymor da,
Efo hiraeth myfyria.

Breuddwydia am beraidd Eden—i'w ran,—
Teimla'r rhwysg diamgen,
Rhyw ddydd, a'r mawredd addien,
Dỳra y byd ar ei ben.

Ni wybu yn ei febyd—am wleb ael,
Am helbulon adfyd:
Ni fuodd ei lân fywyd
O tan bwys helyntion byd.

Yn awelon ha, 'i hwyliau—newyddion
Heddyw geir yn chwarau;
Y môr o'i gylch sy'n ymwau—
Nid a'i wyneb yn dònau.

Angora yna enyd
Mewn dwfr bach,—myn'd i fôr byd!

Addawa ef i ddyfod,—â theg iaith,
Bethau gwych heb balldod:
Cael ei hun, ac wybren clod—yn gwlawio
O'i mawredd arno, y mae rhyw ddiwrnod.

Yn frwd ei awydd am fri dyheua;
Yn fynych ymaith mewn gobaith gwibia;
A gwên foddus ei hunan ganfydda;
Medd aur a chyfoeth, ac ymddyrchafa;
Gwel, yn llon, fendithion da,—yn mhob man,
Yn ter ehedfan o ddeutu'i rodfa.

Yn ei fro ddedwydd, ef ni freuddwydia
Draw am yr awel a'r 'storm a rua;
Ger llaw y ddor am for y myfyria,—
Suad hyfrydlon y dòn a'i dena;
Ac i for y cyfeiria,—pell o'i fryd
Yw meddwl enyd am a ddilyna.

O! na chai' 'i hunan ar rhyw fàn fynydd,
Yn llaw rhyw hynaws ddyfnbwyll arweinydd;
Ac ar daen, o'i flaen, y môr aflonydd—
Ei fâr, a'i boenau, a'i ferw beunydd;
Hiraethai am brydferth ddydd—mebyd gwyl,
Yr egwyl anwyl ga' ar y glenydd;

A'r fan deg lle mae'r fwyn dòn
Yn fireindwrf ariandon.

Chwi oriau llonwych, eirian,
A di glwyf, Ieuenctid glân,

Byr ydyw'ch hoff barhad chwi—
Heibio 'hedwch heb oedi;
Machluda gwên heulwen hedd,
Daw henaint a dihoenedd.

Tyr'd, gyfaill, rho dro i'r drych,
Ar hen o oedran edrych.

O! gwel yr anghenus gwan,—a'i lesgedd,
Yn ymlusgo weithian:
Bu yntau, 'r dyddiau dyddan—ganfu'n ol,
A'i wedd yn wrol, a'i rudd yn arian.

O'r gu aelwyd ar gilio—mae i'r bedd,—
Tymor byr, byr eto;
A'r sedd a'i croesawai o
Ganwaith, fydd wag o hono.

Wedi lludded caledwaith
Y dyrys fyd, drwy oes faith,
Iddo pêr ar fyrder fydd
Tawel hûn mynwent lonydd.

Hwn oedd mewn cyn-flynyddau—mor fywiog,
Mor fuan a thithau;
Ar y foel uthraf aeliau—yn esgyn,
A myn'd i'w choryn yn ddim ond chwarau.

Daw dwthwn deui dithau—ar ogwydd,
Mor egwan ag yntau;
Ac yn nod, nid yw'th flodau—gwên siriol,
Na byddi'n farwol mewn bedd yn forau.

Ah! ceir rhos teca' yr haf
Acw yn gwywo cyn gauaf:
Gall mai'n ngwrid Ieuenctid ir
Dy flod'yn llawndwf lwydir;
A'th ddeilen addien heddyw,
Hon *all* fod yfory'n wyw!

Ymdaen tawch am danat, dichon,—a chwyth
Arnat chwa orddigllon;
Och! 'e lwyr chwal, hwyrach, hon,
Bythawl, dy fyrdd gobeithion.

Oni welir anwylyn—ieuangol
Dan law angau'n disgyn;
Yn rhy gynar, eginyn
Gwan, glwys, yn gwywo'n y glyn?

Nid yr hen ydyw'r unig
Darawyd dan ei droed dig.

Yn nod i'w saeth niweidiol,—fe wna ef
Y fun nwyfus, siriol:

Gyda'i gleddyf ymchwyfiol,
Unwaith, er neb, ni thry'n ol.

Awn i weled mun wylaidd,—araf, lesg—
Gwyryf lân, angylaidd;
Er hyny, wyra'n wâraidd—tua'r bau,—
Arwydd angau ar ei grudd ieuengaidd.

Ei gwrid-wenau gordyner—ddywywodd
Awel boreu amser:
Nid oes un, diau, is ser—
Y lwydfoch, wael—a'i hadfer.

Ond er fod byd, yn mlodau
Ieuanc oed, arni yn cau;
O'i chell, â phell lygad ffydd,
Gwynfa'n ymagor genfydd!

Ymforia mewn myfyrion,—dianga
O wlad ingoedd chwerwon,
I wel'd araul wlad dirion,—
Dianaf wlad y nef lon.

Gwlad uwch ser, gwlad iach y saint,—y wlad aeth
A'i meddwl dwys gymaint;
Heb yn hono boen henaint,
Na chlaf neb, na chlwyf, na haint.

O'i holl ingoedd, llaw angau
A ddaw rhyw ddydd i'w rhyddhau:
O'i bwn, at yr Hwn a'i rhoes—
Duw ei hun—'hed ei heinioes;
I nef y nef i fwynhau
Eurog, fwynion drigfanau;
Puraf fan, nas profa hi,
Hoff eneth, nych i'w phoeni;
I le dedwydd tragwyddol,
Yno dring, a'r ing ar ol.

Un modd a'r aderyn mwyn,
A'i wâr ddeunod, wyrdd wanwyn,
Dros ysbaid fer, fer, a fydd
Yn ymweled â'n moelydd;
Yna 'i aden i 'hedeg
O'n gwlad daen, âg awel deg;
I gyrhaedd rhyw gu oror,
Draw sy' y'mhell dros y môr:
Felly, hithau, diau, 'r deg,
I'w rhod sydd ar ehedeg,—
I Baradwys o'n brodir—
I ragorach, tecach tir—
A gloywdeg wên gwlad y gwawl,
Haf lwyni anniflanawl,—
O garchar daiar dywell,
A'i mawl i'w Duw am wlad well;
Gwneir hi'n iach! a bellach bydd
Ail einioes o lawenydd!
Yfed o'r ddysglaer afon
Sydd fry dan orseddfa'r Ion;

A dal y palmwydd dilyth,
Ac O! bod yn ieuanc byth.

Ag hoywder, cyd-daraw cainc—o fawl c'oedd
I Dduw, â'i luoedd tragwyddol ieuainc.

Gwlad Ieuenctid byth wridog,—llawenydd
Drwy'i llwyni irddeiliog:
I Iesu ein Tywysog,—gylch y fainc,
Cân corau ieuainc eu ceinciau rhywiog.

Engyl seinber ar dyner adenydd,
Yn hyfryd oror eu nwyfre derydd;
Eu llon alawon i'w huchel Lywydd
Yn dal yn hyawdl, a'u hodlau'n newydd;
Ac eiliant gyda'u gilydd—beraidd gainc,
Yn der ac ieuainc, i Dduw'n dragywydd.

Bythol sirioldeb weithian,—haf oesol,—
Pawb at fesur oedran:
Teulu fydd mewn tawel fan—uwchlaw rhif,
Ieuainc a heinif yn nydd tranc anian.

Henaint egwan yma'n wir
Yn dilyn Ie'nctid welir;
A cheir rhu chwerw auaf
Yn dilyn hoen-delyn haf;

Ond, wele! Ie'nctid dilyth
Y wlad fry a bery byth.

O! 'm henaid, pâr i minau,—yn wastad,
Iawn ystyr fy nyddiau;
Heb amddiffyn, briddyn brau,
Ofer, rhyngwyf â'r angau.

Fel ffug ar gil fy haul ffoes,—hwyrhaodd
Fy nhruan ddydd eisoes;
Mor fuan daw nawn einioes,—
Rhyw awr fer yw'r hwyaf oes!

O! dud nad ydyw'n edwi—ei mwynhad,
Dim nos na bedd ynddi:
Hon f'o 'ngwaedd, hyn fy ngweddi—ystod oes,
Am deg, ail einioes yn myd goleuni.

Byw a Duw'n rhan,—bod yn rhydd,
Ac ieuanc yn dragywydd.

GWYNDAF HEN.

# GALAREB*

I'R DIWEDDAR

# JOHN JOHNES, YSW.,

DOLAU COTHI.

GAN DEWI WYN O ESSYLLT.

RHYW newydd drychineb sy'n tori o hyd
Ar linell ein hedd:
Ac aml y dygir ni wyneb yn wyneb
Ag angau a'r bedd.

---

* *Galareb* sydd eiriad anmhenodol, ac yn gadael y bardd at ei ryddid i ganu yn y mesur neu y mesurau a ewyllysio,—caeth neu rydd, unfath neu amryfath. Pe dywedasid awdl, pryddest, neu gân, buasai y bardd yn rhwym o sefyll at ddosparth a mesur neillduol; ond gan mai *galareb* a ddywedir, a *dim* yn rhagor, y mae yr awdwr yn ystyried ei fod at ei ryddid i ddewis hyd ei gerdd, a ffurf ei fesurau. Ystyria yr awdwr hefyd fod gwahaniaeth rhwng *galareb* a *marwnad*,—y gyntaf yn cynwys mwy o alar, a'r olaf fwy o ddesgrifiad.

Rhyw râi o'n prif ddynion a gwympir yn gyson
I'r bedd tywyll, mud;
Nes gwneuthur y clwy' sydd ar waelod ein calon
Yn ddyfnach o hyd.

Yn wir, y mae wylo, i galon y Cymro,
Bron gwedi troi'n reddf:
Mae cywair ei awen, fel trydar y g'lomen,
Fyth, fyth, yn y lleddf.

Mae eraill froydd, ni wyddom, *ambell* bryd,
Yn wylo'n drwm ar ol eu meirwon drud;
Ond Cymru drwy'r blynyddoedd meithion sydd
Yn wylo *o hyd* ar lan y beddrod prudd:
Yn wir, o'r bedd y cwyd ei chŵyn a'i chri—
Ni sychir fyth oddi arno'i dagrau hi.

O! dywed, fwyn nefoedd, pa'm torwyd i lawr
Un gerid mor anwyl—un berchid mor fawr,
A'n JOHNES, Dolaucothi? Pa galon a gaed
Yn ddigon callestraidd i dywallt ei waed?

Mi wn, os bu angau ar neges erioed,
A chwenych cael newid o lwybr ei droed,
Mai'r pryd y neshaodd, yn araf a syn,
At lys Dolaucothi anffodus, oedd hyn.

Yr oedd fel yn anhawdd gan angau neshau
At lys Dolaucothi, cyn dydd y fawr wae:
Am saith-deng-a-saithmlwydd edrychai o draw,
Heb fin ar ei gleddyf, na nerth yn ei law;
Fel pe yn petruso rhoi ergyd i'r un
Oedd lawer tebycach i'r angel na'r dyn!

Mi wn del'sai angau yn fwynach ei wedd
I roi ein brawd anwyl yn nghysgod y bedd,—
Gan chwenych yn hytrach rho'i oed ar y dydd,
Cyn gollwng ei yspryd profedig yn rhydd,—
Pe na buasai weithian hwylusu ei droed
Gan un o'r llofruddion creulonaf erioed!

Oh! lofrudd melldigaid! 'sawl ellyll yn nghyd
Fu'n dûrio dy galon—gwregysu dy fryd,
A chynal dy freichiau sigledig i'r lan,
Pan d'rewaist yr ergyd, fu'n dranc yn y man
I un o ffyddlonaf was'naethwyr ei wlad,
Ac un fu i tithau'n rhagorach na thad?

Frwnt *anniolchgarwch!* erioed ni edrychaist
  Yn oerach, yn hagrach dy wedd nag yn awr;
Yn wir, mae gwynebpryd cyflafan preswylydd
  Yr anial, yn edrych yn decach ei wawr.
Y law a estynodd it' fil o fendithion
  A d'rewaist yn ddirym i lawr wrth dy draed;
A'r wên arnat d'wynai fel heulwen y boreu,
  Ddiffoddaist ar unwaith mewn cerynt o waed.

O! na fuasai'r ddaear neu'r nef yn cyfryngu
Rhwng ergyd y llofrudd a bywyd ei well:
Pa le'r oedd yr angel gwarchodol, oedd wedi
Ei hebrwng hyd yrfa ei einioes mor bell?
Oh! pwy ddisgwyliasai y deuai'r fath dynged—
Mor lawn o greulonder, dialedd, a gwaed—
O'r fan lle'r oedd cariad, yn hir, wedi tywallt
Ei ffafrau cyn amled a'r gwlith wrth ei draed!

Ofnadwy, 'n wir, oedd dwyn ei fywyd ffwrdd
Gan law, yr hon dderbyniai faeth o'i fwrdd!
Ad-daliad tost! am garedigrwydd mawr,—
Tywyllwch uffern yn lle goleu'r wawr!

Llid, malais, brad, dialedd chwerwa'r byd,
Oedd yma wedi cael eu hasio'n nghyd:
Cain, Suddas, Saul, yn mherson un, yn awr,
Oe'nt wedi cwrdd yn rhyw anghenfil mawr!

Oh! lofrudd, na ddalied dialedd dy had,
Can's digon yw iddynt felldithion fy ngwlad;
Sy'n cwympo'n gafodydd ar weryd dy fedd:
'R wyt ti'n un o'r meirwon nad oes iddynt hedd;
Can's cwynion fy nghenedl gyffroant dy lwch,
A'i chås ar dy esgyrn a orwedd yn drwch!

Tydi, ddeublyg lofrudd! arbedaist y draul
I ager a thrydan, a lleuad a haul,

I helpu cyfiawnder i gael hyd dy gell,
Pan glywyd e'n rhuo fel taran o bell;
Oblegid fe'th ddaliwyd, cyn symud un cam,
Gan uffern o'th amgylch yn cyneu yn fflam!
Euogrwydd a'th wasgodd, a dychryn a'th dodd,
Casheaist dy einioes, a'th yspryd a ffodd.

Ond os ca'dd trugaredd rhyw le i ro'i lawr
Ei throed rhwng dy yspryd a dorau'r byd mawr,
A gwêl'd edifeirwch yn myn'd ar ei lin,
Ar waelod dy galon, nes ysgog dy fin,—
A'r nefoedd yn foddlon rho'i balm ar dy friw,—
Bendigwn, drwy'r cyfan, drugaredd ein Duw.

Mor drist dy wawr,
Fy anwyl Ddyfed, wyt yn awr,—
Ail brwynen gwyri'th ben i lawr;
Dy dlawd a'th wan, dy lys a'th Lan,
A gwynant dan y ddyrnod fawr.

Mor unig y'nt
Y llwybrau lle tramwyai gynt,
Drwy erddi'r llys, rhwng myrr a thus,
Ar hwyrol neu foreuol hynt;
Pob llwyn a phren sy'n gwyro'i ben,
Gan wylo gôl yn nghôl a'r gwynt.

Mor wag yw'r sedd,
Lle treuliodd lawer awr mewn hedd,

O dan y dderwen* hen ei gwedd,
Sydd ar ei ddol,—fy ngwthio'n ol
Wna hon o hyd tua phyrth y bedd.

Ti, Ben-lan-went,—
Yn lle bod haul, o'i foreu nen,
Yn trwsio'th wàr â'i *rilan* wen,—
Prudd yw dy wawr, a chwmwl mawr
Yn gwisgo *mourning* am dy ben.

O! Gothi‡ gàn,
Mor llon a phrydferth oeddit pan
Yr oedd dy lyw yn rhodio'th lan;
Perseiniol si dy santaidd li
A lawenychai'r galon wan:
Ond darfu hyn,—a'th furmur syn
Ni ddwg yn awr ond poen i'n rhan,
Ac adgof blin fod heddyw'r min
Adfywiai'r lle'n mudanu'r Llan!

O! Gaio|| gul,
Mae'r gloch a alwai'n wyl a mul,

* An oak tree standing in an adjoining meadow, underneath the shade of which he sat many an hour.

† A small hill near Dolaucothi house.

‡ Cothi or Caethi, a beautiful river near Dolaucothi, and near the same spot as Lewis Glyn Cothi, the celebrated bard, was born.

|| Caio, a little village about two miles distant from Dolaucothi, and where the remains of the lamented gentleman were interred.

Ein hanwyl sant, Sul ar ol Sul,
At allor Duw, a'i ebyrth byw,
'N awr wedi troi'n dragwyddol glul.

Dy Eglwys* *lawn*
Sydd Eglwys *wag*, er pob rhyw ddawn:
Mae yno lais, oedd dreiddiol iawn,
Yn eisiau'n llwyr,—hwn, foreu na hwyr,
Mewn llith na chainc, byth mwy ni chawn.

O! fel y mae Rhinwedd, a'r dŵr ar ei grudd,
O gylch Dolaucothi'n ymgrwydro bob dydd:
Gwladgarwch fan yma, Dyngarwch fan draw,
A'r Awen brudd hithau'n ymhongian gerllaw,
Yn chwilio a holi, wrth fyn'd ar eu hynt,
Gan gymysg eu galar â galar y gwynt,
Am nad yw i'w noddi a'u noddai hwy gynt.

Tydi, O! Lenyddiaeth† fy ngwlad gystuddiedig,
Myn'd d'wyllach, dywyllach, o hyd mae dy hwyr:
Nawdd-seren ddigwmwl dy nen Eisteddfodol
Tudraw i'r mynyddoedd fachludodd yn llwyr:

---

* He was a faithful Churchman, and respected by all classes and denominations.

† He was a warm and distinguished patron of the Eisteddfodau, and of Welsh literature generally. He was a useful member of the council of the National Eisteddfod.

Pwy eto'n Mhwyllgorau yr Wyl Genedlaethol
  Gawn ini'n gynghorwr a noddwr o'i nerth;
A phwy eto egyr ei law mor haelionus
  I lawen wobrwyo teilyngdod a gwerth?

A thithau, 'r hen Iaith,* welodd fywyd cyn hanes—
  I hanes fu hefyd yn fywyd a bri—
Ar dafod cymen-goeg ein beilch bendefigion
  Ychydig yw'r groesaw yn awr sydd i ti;
Ond ce'st wneyd dy gartref, a byw yn arglwyddes,
  Ar dafod ein harwr sy'n awr yn ei fedd:
Paradwys Gymreig ydoedd llys Dolaucothi—
  Cymreig yn ei yspryd, Cymreig yn ei wedd.

Gŵyr muriau, a llwybrau, a llwyn Dolaucothi,—
  Gŵyr Meinciau, Cadeiriau, gŵyr Cariad a Rhin,
Pa fodd, mewn cysylltiad â hwy lawer milwaith,
  Chwareuodd yr heniaith ei champ ar ei fin:
O! Awen ac Iaith, dewch yn awr a thyneraf
  Frawddegau ac odlau galarnad a chŵyn,
Ac wylwch yn galed ar yddfau eich gilydd
  'R ol un wnaeth eich noddi mor fawr ac mor fwyn.

Nid pin bach yn rhywle, nid ermig o'r golwg,
  Y rhai braidd y gwelid eu heisiau o'u lle,

---

* He was a Welsh gentleman of the olden time. He always spoke of the suitors, his household, &c.

Eithr olwyn yn troi yn rheolaidd a chyson
  Yn mheiriant llenyddiaeth ei wlad oedd efe.
Anfynych caed un o'n cylchwyliau llenyddol
  Na byddai efe'n cyfranogi'n y gwaith:
Yr ydoedd ar air a gweithredoedd yn profi
  Fod ynddo'i wladgarwch yn fywyd a ffaith.

Breninwaed Cymreig* olchai draethau ei galon,
  A bri tywysogaidd dywynai'n ei wedd;
A th'wynu fel heulwen yr hwyr ar y mynydd
  Yr ydoedd, drwy wybren o fwynder a hedd.
Gwae! Gaio, dywyllu o'r dyner wên hono,
  Caid bendith ar fendith yn llif ar ei hol:
Ah! cofia dy dlawd a'th anghenus, hir amser,
  Yr hen garedigrwydd a wel'sant o'r Ddol.

Pentyrodd y byd ar ei ben goleuedig
  Ogoniant a mawredd, yn swydd ac yn urdd;
Bywyd a Bonedd, Athrylith a Rhinwedd,
  A'u blodau teleidion, huliasant ei ffyrdd:
Ond dysgodd mai eiddo yr Arglwydd oedd cyfoeth,—
  Fod iddo'i *ddyledswydd* yn gystal a'i *hawl;*
Gwnaeth Rhin yn ei natur, a Gras yn ei galon,
  Ei law fwyn i agor mor esmwyth a'r gwawl.

---

* He was a descendant of the Cambro-British hero, Urien Rheged, said to be the fifth in direct line of descent from Coel Godebog, king of Britain.

Chwychwithau, 'i fwyn ddeiliaid,* a wylwch o galon,
'Wel'd rho'i Tirfeddiannwr mor hynaws i'w fedd:
Dan groesau rhagluniaeth neu fasnach, bob amser,
Chwi gawsoch ei wyneb yn obaith a hedd.

Amlwg i bawb oedd hawddgarwch ei natur;
Yn mwynder ei eiriau, a 'splander ei wên,
Yn wir, fe ddisgynai ei bêr bresenoldeb
Mor esmwyth a'r heulwen ar ieuainc a hen:
Hynawsedd ei dymher, rhyddfrydedd ei yspryd,
Parodrwydd ei 'wyllys, didwylledd ei fryd,
A'i gwnaeth ef yn un o'r ychydig rai hyny
A gerir gan uchel ac isel yn nghyd.

Ni chododd Cyfiawnder, ni welodd Tosturi,
Ffyddlonach Gweinidog† erioed ar eu sedd;
Pan fyddai yn rhaid i Gyfiawnder gael taro,
Ar darian Trugaredd y syrthiai ei gledd:
Tosturi agorodd ei law lawer dengwaith,
Pan welai y tlawd yn rhy dlawd i roi'r iawn:
O! Ddyfed, diffoddodd goleuni'th frawdlysoedd,
A haul dy Yngneidiaeth gyrhaeddodd brydnawn.

---

* He was a kind-hearted landlord, and a most indulgent master.

† Upright and just in all his transactions as a Justice of the County Court, and Chairman of the Carmarthen Quarter Sessions, and Recorder of the Borough. He was an eminent Lawyer. As a Judge he always tempered judgment with mercy.

Mor deg caed Gwladgarwch, Swydd, Rhinwedd,
a Chrefydd,
Hyd lwybrau ei fywyd yn ymdaith yn nghyd,
Heb un anghydnawsedd, heb un anghydweddiad,
I lygad y nefoedd na llygad y byd.

Er mai ei Fryn Seion, lle cyson addolai,
Oedd Eglwys ei dadau, er hyny, efe
Ni fynai gyfyngu ar ryddid un arall,
Mewn cyswllt â'r ddaear, neu'n nghyswllt â'r ne'.

Rhyddfrydwr* gwir oedd, ond cymedrol—yn hwylio
Ei long rhwng *Charybdis* a *Scylla* 'n dra llon:
Ni roddes ei deimlad na'i farn i eithafedd,—
Pwyll lywiai ei yspryd, a thangnef ei fron.

Ei *enw* oedd ddigon o werth gan y rhei'ny
Sy'n mesur pob mawredd wrth swydd ac wrth urdd;
Ond tegwch ei fryd, ac haelfrydedd ei natur,
A'i gwnaeth ef yn anwyl i'r mil ac i'r myrdd.

Rhyw gydser o rinweddau
Dywynent ar ei wedd,
Mewn rhyw oleuni tyner,
Nas gwisg ond meibion hedd:

---

|| In politics he was a Liberal, but not one of those extreme Liberals.

Ca'dd gyfoeth lon'd ei ddwylaw—
  Ar gyfoeth sengai'i droed;
Ond dan ei fron rhoes nefoedd lon
  Ei gyfoeth mwya' 'rioed:
Y cariad eang hwnw
  Wyr fyned heibio'i hun,
Heb deimlo'n dreth gwneyd unrhyw beth
  Wna'n decach fywyd dyn.

At grefydd ddihalog o luniad y ne',
Yr oedd yn ei fynwes dragwyddol fwyn e'
Ddyngarwch byrlymawl yn ffynon fawr, gre',
    A'i mil-myrdd o ffrydiau
    Yn myn'd ar eu llwybrau
I bob rhyw gyfeiriad, ar aswy a de.

          Ond Oh! ond Oh!
Mae'n hanwyl frawd, fu'n haul i'w fro,
Yn nhir y glyn yn awr dan glo;
Ow! dyma dro a newid drem
Awyrgylch glir holl dir y De:
Ei ddeol e' oedd awel lem.

Yn wir, pan y cwympwyd ein JOHNES, Dolaucothi,
  Teimlasom ddaeargryn bryd hyn dan ein traed;
Do, do, fe ddisgynodd y newydd ofnadwy
  Fel ergyd taranfollt ar galon y wlad:
Sain cân a llawenydd a droed yn alarnad,
  A thafod cymdeithas a d'rawyd yn fud;

Ond moment fu'r syndod, a thorodd y galar
Yn 'storm o wylofain drwy'r ardal i gyd.

Y newydd syn,
Gan lawer cenad gwyllt, pryd hyn,
O fro i fro, o fryn i fryn,
Rhag blaen a aeth, a llawer saeth
I galon, ar ei fwa tyn.

Troe i Pabell hedd
"Wyth mil" y Genedlaethol wledd*
Yn babell ddystaw fel y bedd;
A Gwrecsam dlos, fel canol nos,
Heb ddim ond prudd-der ar ei gwedd.

---

* In the course of the proceedings at the Wrexham Eisteddfod, the Rev. John Griffiths, Rector of Neath, referred in most touching terms to the dreadful tragedy in Carmarthenshire, by which one of the most talented and patriotic Welshmen—one who was always foremost in every good act that concerned his country and his countrymen—had fallen by the hand of an assassin. He desired the president to ask that mighty assemblage to express its condolence with the family of Dolaucothi, and in abhorrence of the treacherous crime which had brought a good man to an untimely death. The president asked the audience to stand for a moment in perfect silence, and then to resume their seats. When the vast assemblage, uncovered, rose as one man, amidst a silence that was intensely painful, broken only by deep sighs of ladies and gentlemen who had occasion to think reverently of one who was no more, the scene was one of the most solemn kind our correspondent says he ever witnessed.—*South Wales Daily News*, August, 1876.

Drist newydd! pan
Y torodd uwch y ddiloes fan,
Troes yspryd pawb yn llesg a gwan;
Ac hiraeth mud y dorf ai'n nghyd
Mewn un ochenaid fawr i'r lan.

Y dorf ddi-stwr,
I'w thraed a gododd fel un gwr,
Pan roed yr arch, i ddangos parch,
I un, i'n hiaith a'n llên, fu'n dwr:
Noeth oedd ei phen i'r nefoedd wen,
A llygad pawb yn llyn o ddwr.

Ca'dd adael byd,
A myn'd i'w fedd, a dyna'r pryd
Daeth holl serchiadau'i wlad yn nghyd,
Uwch ben ei arch, i dalu'r parch
Nas gŵyr un teyrn am dano i gyd.

A daeth y dydd
I'w hebrwng ef i 'stafell gudd
Y bedd yn mynwent Caio sydd:
Ah! dacw'r llu, yn gwmwl du,
Yn canlyn ei weddillion prudd.

Oh! goruwch ben,
Pa beth, yn wir, yw'r llinell wen
Sydd acw yn goleuo'r nen?
A ddaeth i lawr yspryd-lu mawr
O'n teidiau, o'r tu draw i'r llen,—

Un am bob un
O'r mil-myrdd rhagoriaethau cun
Oedd ynddo ef, ein hanwyl ddyn,
Er dangos fod fath rin a chlod
Yn rhyngu bodd y nef ei hun.

'R oedd gwlad ac ôr,
Yn dyrfa faith—'r oedd yno fôr—
O ddynion uwch tywarchen oer
Ein noddwr mwyn, a ffrwd o gŵyn
Yn llifo o bob 'stryd a dôr.

O! dacw gudd;
Lifddorau galar pawb yn rhydd,
A'u cymysg-deimlad ar eu grudd,
Wrth wel'd dyhewyd, gobaith, ffydd,
Anwylaf ferch,† yn bwrw ei serch,
Ar arch ei thad, mor hardd, mor brudd.

---

† "The pall was taken off the coffin, and here again the most affectionate regard for the lamented father was manifested by the bereaved daughter. With her own hands she laced on the coffin the loving words which, with her own hands, she had wreathed into imperishable *immortelles*—"*Mewn Cof anwyl*," placing the letters tenderly and gently upon the polished wood beneath which her father slept the last sleep. She then kissed, and placed upon the coffin, the bouquet she held in her hand, taking it up and kissing it again before she left it finally at rest. Lady Llanover also placed her bouquet upon the coffin, as did also the female servants of the household, shedding tears abundantly as they paid this the last tribute of affectionate remembrance to the departed."—*Vide* Newspaper Report.

Dacw'i serch yn ei hysgogi:
Dacw hi'n symud! aros! oedi!
  Gwelwach, welwach try ei gwedd:
Dacw'r serch-ddwyfolaf ddeigryn
Dros un rudd erioed wnaeth ddisgyn,
  'N awr yn golchi meini'r bedd.

  O! na roisid gan rhyw angel
  Y fath ddeigryn gwiw'n ei gostrel:
  Yr oedd serch-drysorau'n hwnw
  Gwerth cael nefoedd idd eu cadw.

Oh! wele hi'n nesu, nesu'n awr,
Yn wyl ei moes, a thrwm ei gwawr,
A'i hyspryd bron a thori i lawr
        Gan bwys y gorchwyl
O sefyll mewn rhyw newydd 'stad
Uwch arch yr hwn oedd iddi'n dad,
Ac arno roi'r ysgrifen fad—
        "Mewn cof anwyl."

Dacw'i bron yn tòn-ymchwyddo!
Pwy ŵyr faint yr ing sydd yno!
Dacw'i min yn symud! symud!
Yn nghyfrinach dwys ei hyspryd:
Beth yw'r weddi fud sydd arno?
D'weded engyl sy'n ei chario
At yr Hwn a gâr ei gwrando
        O'i nef-breswyl:

**Dacw'i llaw yn siglo! siglo!**
**Uwch yr arch wrth geisio'i drwsio;**
**Dacw bawb yn tori i wylo**
**Wrth wel'd ei defosiwn yno**
**Yn cyfleu'r ysgrifen hono**
**O fythwyrddion flodau arno—**
**"Mewn cof anwyl."**

O! nid gan ei ferch yn unig
Bydd ei thad yn fyth-greiriedig,
"Mewn cof anwyl,"
Ond gan holl ardalwyr Caio,—
Fe fydd creig a chymoedd hono
Oesau hen yn ei adseinio:
Hir bydd calon pob gwir Gymro
Yn trysori'r frawddeg hono—
"Mewn cof anwyl."

Ond, rhaid i ni "ganu yn iach" iddo bellach,
Tra'r glwyfus ochenaid yn chwyddo'n ein bron;
Oh! pwy a all ddweyd, ond y sawl sydd o dano,
Pa faint ydyw pwysau yr hiraeth sy'n hon?
Nid calon perthynas, na dosparth, nac enwad,
Yn unig sy'n wylo yn drist ar ei ol;
Ond cenedl gyfan a fwyda ei feddrod
A dagrau cyn amled a'r gwlith ar y ddol.

Pa les ydyw gofyn i'r gwibiog awelon,
"Rhowch dro heibio Caio, ac wylwch yn drwm;"

Yn wir, hwy ni fedrant fyth, fyth gynrychioli
  Yr hiraeth a'n gwasga fel mynydd o blwm:
Pa les ydyw ymbil ar wlith mud y wawrddydd
  Droi'n arwydd o'n dagrau ar feddrod ein tad?
Ni fedd briodoledd o'i fewn gynrychiola
  Yr ing a'r anobaith sy'n nagrau ei wlad.

Plenwch, os mynwch, y tecaf flodeuyn, [bron,
  A'r llwyn mwyaf gwyrddlas drwy'r flwyddyn o'r
O amgylch ei feddrod, er mwyn ei hawddgaru,—
  Pruddglwyfus, er hyny, o hyd fydd ein bron:
Pa bleser fydd edrych ar flodau'n pêr-wenu
  Mewn man y mae'r galon am wylo byth mwy?
Ond, os rhoddi hèr i farwoldeb gan fywyd
  Yw'r syniad, O! plenwch, O! plenwch hwynt-hwy.

O! na chawsai farw ar dyner obenydd,
  A breichiau cyfeillion yn dwym dan ei ben;
Er gwyddem fod braich ag oedd gryfach o dano,
  A'i law mewn llaw angel yn myn'd i'r nef wen:
Os chwerw iawn ydoedd awr olaf ei einioes,
  A'i waed yn cochliwio ei lwybrau i'r bedd,
Fe gafodd ei yspryd wel'd gwawr tragwyddoldeb
  Yn tori o'i amgylch yn ddiluw o hedd.

Os oes i wir rinwedd ei gwobrwy'n y nef,
Dywedwn, heb bryder, mai yno mae ef:
Os yw ymddiriedaeth a phwys ar yr Iawn,
A chrefydd gyfoethog mewn gras a phob dawn,
Yn sicrhau'r nefoedd, mae ef yno'n llawn.

Oedd werth cael y nefoedd yn sail dan ei draed,
Serch gorfod myn'd iddi drwy glwyfau a gwaed;
Wel, yno mae weithian heb glwy' dan ei fron,
Nac un o gystuddiau y drist ddaear hon,
Yn derbyn tragwyddol wobrwyon ei waith:
O Dduw! boed i minau, ar derfyn fy nhaith—
'N ol byw, fel bu yntau, i Dduw ac i ddyn,
A chael o'th faddeuant drwy haeddiant yr un
Anfeidrol Gyfryngwr—gael d'od i fwyn wlad
Y pêr dragwyddoldeb a'r bywyd sy' rad.

LEWIS GLYN COTHI.

## ETO, AR YR UN TESTYN.

GAN CAERONWY.

AH! DOLAU COTHI! fangre lawn o swyn,
  Cymylau prudd-der hongiant uwch dy ben!
Yr awel bêr o'th amgylch sïa'i chŵyn,
  Ac mewn galarwisg *ddu* mae Cymru *wen!*
Ei mynwes a drywanwyd â llym gledd
Pan roed yr anwyl JOHNES yn nghol ei fedd.

Gwlad Myrddin sydd fel pe mewn breuddwyd syn
  Er hwyr y tawel ddydd pan gladdwyd ef:

Dych'myga 'i wel'd yn rhodio llwybrau glyn
Ysblenydd Cothi megys cynt! O'r nef
Melltena angel gwyn, ac yngan wna—
"Gadawodd auaf byd am fythol ha'."

Yn neuadd Dolau Cothi mud yw'r gerdd,
A'r delyn fwyn a hidlai ddwyfol dân;
Brad-lofrudd du o fro yr Ynys Werdd
Ddistawodd swynion dy wladgarol gân:
Bydd enw hwnw o dan fantell gwarth,
Tra Dyffryn Cothi'n gwisgo lleni tarth!

O! Ddolau Cothi! mae dy arwr di
O fewn henafol fynwent Caio'n nghudd:
Ar fin yr hwyr tywyllodd haul dy fri;
A Chymru geir, a dagrau ar ei grudd,
Yn gosod blodau ar ei feddrod oer,
Yn ngŵydd y ser a'r deg arianaidd loer!

Bu enwog feirdd yn plethu arwrgerddi
Anfarwol i wroniaid wnaent wrhydri
Ar feusydd gwaedlyd rhyfel drwy yr oesau,
Drwy dori rhengoedd dewrion i gôl angau:
Y Groegwr a'r Rhufeiniwr fynant ddyrchu
Clodydd eu Halecsander Fawr a'u Pompey,
A'u Cesar enwog; meibion Carthage hwythau,
Hannibal ddewr yw testyn eu molawdau;
Napoleon, meudwy Ynys Sant Helena,
Yw ymffrost beirddion a thrigolion Gallia:
Ac onid teg i ninau foli'n dewrion?
Ein JOHNES oedd arwr, ac yn ddysglaer Gristion.

Gwir haeddol o fawrbarch yw JOHNES, Dolaucothi,
Gan fardd a gwladgarwr, yn herwydd ei fawrfri:
Yr awen a dania ar orsedd pob calon
Pan sonia am glodfawr weithredoedd ein gwron;
A pharod yw hefyd i dywallt ei deigryn
Ar fedd y gwr hyglod wrth chwareu ei thelyn.
O! na feddwn allu seraphaidd i lunio
Galareb anfarwol, wir deilwng o'r Cymro,
Yr hwn geid a'i galon am galon ei Walia,
A gwrol wladgarwr uwch arwyr Caerdroia!
Ah! JOHNES, Dolau Cothi! Yn wyllt myn yr awen
Ei ddyrchu i heulog orielau yr wybren,
A'i osod i eistedd yn mhlith tywysogion
Hen Gymru fynyddig, magwrfa y dewrion:
Myn adgof a hiraeth ymdreiddio drwy'r lleni
Yn ol i'r gorphenol, er canfod ei fawrfri,
A'i weled yn nofio ar fôr ei rinweddau,
Tra engyl yn selio gwefusau y tònau!
Ei glodydd a'i barch a gyhoeddid yn llawen
O lenydd y Cothi hyd lenydd yr Hafren;
A Phrydain a'i rhestrai yn mhlith ei dyngarwyr,
A bloeddiai ei fawlgerdd nes hollti yr awyr!

Disgynai JOHNES o linach Coel Godebawg (a),
Brenin yr Ynys Wen—tad Helen Llwyddawg,
Y rian fwyn, angelaidd, a fu'n enyn
Tân awen beirdd—urddasol fam Cystenyn
Yr Ymherawdwr,—ac o Urien Rheged,
Yr hwn a fu'n ei oes yn ddisglaer blaned,—
A Llywarch Hen, pur gyfaill yr awenau,—
Caed gwaed Syr Elydr Ddu yn ei wythienau

Yn llifo'n goch,—ac eiddo'r enwog Ruffydd
Ab Nicholas, wr llêngarol o'r Drefnewydd,*—
Yn nghyda Rhys ab Thomas, Farchog urddol,
Yr hwn, yn Mrwydr Bosworth, roddodd farwol
Ddyrnod i Risiart yn ei ddewrder pybyr,
Ac ar y maes goronodd Harri Tudur!
O fewn ei wlad, ei barchu fel tywysog
O uchel radd a dawn, neu deyrn coronog,
A gafodd gwron Dolau Cothi eirian,
A'r wlad a seinia'i fawl mewn udgorn arian!

Y *Chwefror cyntaf* yn y ganrif hon,
Ar forau'r chweched dydd, y gwelid JOHN
Yn gerub bach, diniwed, yn y byd,
A'i dyner fam yn dotio ar ei bryd:
Yr awel oer a grwydrai drwy y nen,
A grudd gwlad Myrddin dan eiraol len,
Ac ambell lili dlos o ddwylaw Duw
Ar fron y Dyffryn hardd yn dechreu byw:
Yn Nolau Cothi clywid miwsig pêr
Yn min yr hwyr,—yn llon gwrandawai'r ser!

Dolau Cothi! balas hawddgar,
  Cysegredig fyddi di;
Er ei fwyn, drwy'r oesau'r ddaear,
  Tra bo'r eigion, saif dy fri:

---

* Dinefwr.

Pe bwytäi y fflamau eirias
  Dy heirdd furiau di bob darn,
Enw JOHNES a roddai urddas
  Bythol wed'yn ar dy sarn!

Ceid y tad yn llawenychu:
  Cusan roddai'r fam i'r aer,—
At ei mynwes gwnai ei wasgu;
  Ie, llawer gweddi daer,
O guddiedig deml ei chalon,
  Aeth i'r Wynfa ar ei ran,
Ar adenydd yr awelon,
  Pan oedd megys blod'yn gwan.

Anfesurol oedd ei chariad
  At ei phlentyn hynaf JOHN;
Hwn oedd ganwyll oleu'i llygad,—
  Penaf berl y ddaear gron:
Tlos olygfa a hud-ddena
  Deulu'r nef i lawr i'r byd,
Yw gwel'd ieuanc fam yn gwenu
  Ar ei hangel yn y cryd!

Ar lan Cothi y chwareuai
  Gynt, pan oedd yn hogyn bach;
Haul olwynog nef a wenai
  Ar ei wyneb gwridgoch, iach:
Dringai Greigydd yr Ogofau—
  Coffrau aur gwlad Myrddin fwyn—
Mewn llawn afiaeth; o gwpanau
  Nef awelon drachtiai swyn.

Yn Maes Llanwrthwl, hen dreftadaeth fad
Ei daid—y man dedwyddaf yn y wlad—
Yn fynych gwelid y rhosynaidd aer
Yn nghwmni ei anwylaidd bedair chwaer,
Sef, LIZZIE fwyn,—a'r rian brydferth JANE,—
A MARY-ANNE, a'i grudd yn gwisgo gwên,—
A CHARLOTTE dlosgain, yr ieuengaf ferch,
A'i thyner fron yn deml i angel serch;
A'r *gyntaf un* o'r teulu llon ei wedd
A roed i huno yn y distaw fedd!
O! bedair lili anwyl,—gemau'r wlad,—
Heirdd ser ffurfafen Dolau Cothi fad!
Ymrodio maent hyd fin yr Annell lân,
Gan wrando ar ei thònau'n murmur cân
I'r blodau geid yn rhoi cusanau ar
Ei swynol rudd yn ardal Crugybar (b):
A siarad wnaent am ddyddiau pan yr oedd
Paulinus, arwr Rhufain, yn rhoi bloedd
Ger Maes Llanwrthwl,—meirwon dan ei draed,
A'r Annell fach yn goch gan ddynol waed!
Gwŷr Rhufain o flaen Buddug wedi ffoi!
A gwefus llawer arwr wedi'i chloi
Gan deyrn marwolaeth! Cysegredig iawn
Yw'r manau hyny fyth i'r farddol ddawn:
A JOHNES, a'r hoff rianod ieuainc hyn,
Gaent wir fwynhad wrth rodio llwybrau'r glyn;
Tra gwisgai anian dlos ei mantell ddu,
Siaradent hwy am arwyr "Cymru fu."

I dreflan Llanbedr, ar lenydd y Teifi,
Yn ngwanwyn ei fywyd, a'r rhos ar ei rudd,

Cychwynodd ein harwr,—ffarweliai â'r Gothi,
  A'i gwylltedd rhamantus, a'i fynwes yn brudd.
Ar binacl euraidd bryn creigiog dysgeidiaeth
  Gosododd y bachgen talentog ei nod:
Esgynodd i'w fàn-drum,—ca'dd wir fuddugoliaeth,—
  A thabwrdd ei genedl ddadganai ei glod.

Newidiodd y Deifi am Dywi arianaidd,
  A swynion Caerfyrddin enillent ei fryd;
Mewn dysg yr ymaflodd â nerthoedd Herculaidd;
  A dawn ac athrylith prif awdwyr y byd
Yr ymgydnabyddodd; ymroddodd mewn egni
  Er rhodio heirdd lwybrau digwmwl y ser
Belydrent yn wybren athrylith glan Tywi,—
  Eu clod gan awenfeirdd ddadseinid yn bêr.

O dref Caerfyrddin aeth i Wlad yr Haf,
Sy'n bythol wenu dan ogoniant Naf!
A chwpan Heliconia wrth ei fin
A ddaliai'i lonaid o felusber win
Awen a dysg: y ddwy angyles dlos
A chwarddent megys ser ar ael y nos;
O'u blaen, caddugol niwloedd sydd yn ffoi,—
Tywyllwch oesoedd yn ei fedd wnant gloi!
O wlad y Sais canfyddai ambell drem
Ar wlad Morganwg, ydoedd megys gem
Yn gwenu ar yr haul wrth draed y môr;
A'r gwyrddion dònau ffurfient brydferth gôr
Ger glanau'r fro lle huna Arthur Fawr;
Telorent fwynaidd gerdd ar doriad gwawr,

A min yr hwyr, oddiyno hyd i heirdd
Ororau Cymru, enwog wlad y beirdd.
Yr oedd yn caru'r dòn a'r awel fad,
Am y cusanent ruddiau'i anwyl wlad.
Ei galon y pryd hwn ga'dd deimlo cledd,
Pan roed ei anwyl dad mewn tawel fedd:
Mae teulu Dolau Cothi oll yn brudd,
A dagrau hiraeth dreiglant dros bob grudd!

Yn Athen Prydain Fawr y gwelwn ef,
A'i law am wddf Athrylith, duwies nef!
Rhydychain! Cysegredig iawn a fydd
Dy enw di tra'r wawr yn arwain dydd
Er eistedd ar orseddfainc lwyd y nos,
A thra y gwena'r ganaid loerwen dlos
Ar ddyfroedd Tafwys—ddwyfol afon lân,
Sydd drwy yr oesau'n murmur swynol gân,
Wrth lifo rhwng ei glenydd, am dy fri
Colegol, a'th arwrol feibion di.
Ar neuadd Brasenose y sangai'i droed
Yn fachgen ieuanc dwy ar bymtheg oed:
Ei wallt modrwyog oedd mor ddu a'r nos,
A dawnsiai iechyd ar ei geinrudd dlos:
Ei lygad byw, a'i dalcen uchel, llawn,
Oe'nt fynegfysedd aur at fôr o ddawn.

Drwy'r meusydd clasurol yr hoffai ymlwybro,
   Yn ol traed enwogion talentog y byd;
A cherddi yr Awen yn llwyr wnaethant swyno
   Ei galon i garu ei chwmni o hyd.

Wrth ganfod tlysineb bro'r Dafwys ysblenydd,
  Atdynwyd ei serch at y prydferth a'r hardd;
Teleidrwydd yr ardal, a gwyrddni'r wybrenydd,
  A'i gwnaent, ar adegau, 'n athronydd a bardd!

Plymio wnaeth i fôr dysgeidiaeth,
  Nid er boddio balchder coeg:
Gartref ydoedd yn llenyddiaeth
  Rhufain fawr, a meibion Groeg.
Treuliai awr yn nghwmni Homer,
  A Thucydides, yn llon;
Gyda Virgil, bardd y Tiber,
  Canai ger y loew dòn!

Yn Rhydychain yr enillodd
  Brif anrhydedd Prydain wen;
Gyda'r uchaf yno graddiodd,—
  Rhoddwyd coron ar ei ben.
Enw gwron Dolau Cothi
  Gerid gan holl feibion dysg:
Ceid eu gruddiau yn ymloni
  Pan y rhodiai yn eu mysg.

Cyn ymadael o'r Brifysgol
  Yn ei fron y fflamiodd serch,—
Teimlad tyner, dwfn, angerddol,
  At angylaidd, anwyl ferch,
Drigai draw yn Mro Morganwg;
  Ac fe unwyd JOHNES a'i fun,
Gyda mwynfad deimlad amlwg,
  O flaen allor serch, yn un.

Yn mroydd y Cothi, a dyffryn ysblenydd
Yr Annell a Chaio, teyrnasa llawenydd:
Coelcerthi ar benau y moelydd a fflamiant;
Mae Bryn Dinas Sawyl dan goron addurniant:
Taranu mawlgerddi wna'r trymion fagnelau,
A gwatwar eu twrw wna creig yr Ogofau!
O Gulfor Caerodor hyd drumau Eryri
Y clywir y fonllef—"I aer Dolau Cothi,
A'i rian, boed einioes yn orlawn o heddwch,
Ac engyl i'w gwylio yn nheml dedwyddwch."

Cyfreithiau Prydain Fawr astudiodd ef,—
Eu dal a wnai yn ngwawl cyfreithiau'r nef,
Y rhai gyflwynwyd gan y Deddfwr glân
Ar Sinai gynt, yn nghanol mwg a thân.

O fewn yr Inner Temple (c) ymddangosodd
Yn wron cadarn; Llundain a'i dyrchafodd
I gadair bri; yn deilwng ca'dd ganmoliaeth
Ac uchel barch mewn llysoedd barn yn nhalaeth
Dyfed, yn nghyda holl Ddeheubarth Cymru,—
Yr hollwlad wenai arno, gan ei garu.
Swyddi enillfawr, anrhydeddus, lanwodd
O dan y goron, yn y wlad a'i magodd.
Fel Barnwr gonest yn y Llysoedd Sirol (d)
Esgynodd JOHNES i binacl clod anfarwol.
Ni roddai ffafriaeth i'r cyfoethog uchel,
Ac ni wnai gam â'r tlawd o'r bwthyn isel.
Ni welwyd dyn amheuai ei ddyfarniad:
O fewn ei fron y berwai serch a chariad

At wneyd yr hyn oedd gywir,—pob tystiolaeth
A bwysai ef yn nghlorian deg Rhagluniaeth:
Ei olwg gadwai ar y gyfraith Ddwyfol,
A'r farn a ddaw, pan driniai'r gyfraith ddynol.
Pe syrthiai bydoedd o'u cysawdiau'n deilchion,
Cyfiawnder ddaliai glorian JOHNES yn union.

Fel Ynad Heddwch meddai farn a phwyll;
Dyn unplyg oedd,—cashaodd frad a thwyll,
A brwnt unochraeth yn mhob llys a Llan;
Fel angel da cymerai blaid y gwan,
Ac nid ei fathru'n greulawn dan ei draed,
A gwrando arno'n gruddfan yn ei waed!
Tra bu'n Gadeirydd (e) yn Mrawdlysoedd Sir
Gaerfyrddin fawr, ar orsedd aur y gwir
Eisteddai,—ni symudai gam o hon:
Penderfynolrwydd nythai yn ei fron:
Nis medrai efelychu tònau'r aig,
Sy'n bythol symud,—megys cadarn graig
Y safai ef, gan herio'r dymhestl flin,
A gwenai ar yr haul mewn hafaidd hin.
Ei ymgais ydoedd treiddio'n ddwfn at wraidd
Pren iach gwirionedd, nid ei gyffwrdd braidd:
Cydwybod bur, angyles brydferth, lon,
A wnaeth ei chartref yn ei dawel fron;
Ni ruai fyth o dan bangfeydd ei chur,
A'i thraed a'i gwddf yn rhwym mewn cadwen ddur!
Cydwybod sydd yn creu uffernol dân
Yn mynwes ambell un, a Gwynfa lân
Yn mron y llall! Hon ydyw'r gallu sydd
Yn gwneyd y nos i rai yn ddisglaer ddydd!

Ei grudd o dan belydron dwyfol chwardd,
Ac iddi'n beraidd cân pob nefol fardd!
Cydwybod arwr Dolau Cothi fu
Yn lân drwy'i oes; a phan yn afon ddu
Marwolaeth oerai'i draed, ni chlywyd hon
Yn cwyno'n brudd yn nghlust y farwol dòn!
Ei ddysg, yn nghyda'i dywysogol drem
Dawelfwyn, a'i gymeriad—loew em—
A'i araeth goeth (pob gair fel maen mewn mur),
Os nad oedd ynddi flodau, 'r oedd yn bur,—
A'i ddwfn amynedd, arlun byw o hedd,—
Wnaent JOHNES yn frenin ar y farnol sedd!
Ni fedrai y carcharor yn y llys,
O dan ei ddedfryd, estyn ato'i fys
Fel un a wyrodd farn; ei ddeigryn byw
A sieryd mewn mudanrwydd, "Cyfiawn yw!"

Ei swyddau a fuont niferog yn ngwlad
Ardderchog ei dyner fam anwyl a'i dad:
Cofiadur Caerfyrddin (f), Is-raglaw ei Sir,
Y galwyd ein gwron,—prif ymffrost ei thir:
A Meistr urddasol Rhingeliaeth* a fu
Yn mro y Deheubarth, wr anwyl a chu:
Cefnogai bob achos rhinweddol yn mysg
Y Cymry a'r Seison,—bu'n darian i ddysg
Elfenol yn Mhrydain; gwlad Myrddin sy'n d'od
Yn mlaen, megys angel, er dadgan ei glod:
A Chaio a gyfyd ar flaenau ei thraed
Er canmol ei harwr; ymferwodd ei gwaed

---

* Freemasonry.

Pan welodd ei golli mor sydyn o'i chol,
Heb obaith ei ganfod byth mwy yn troi'n ol!
Ei phlentyn anwylaf, mwyneiddiaf, oedd ef,—
Fe'i carwyd gan ddynion ac engyl y nef;
Ond eto'r diniwed gashawyd gan un,
A hwnw ddisgynodd i'w gafell ei hun!

Pe medrai sereiph Gwynfa,
  Ac engyl gwlad yr hedd,
Brudd wylo dagrau, wylent uwch
  Ei unig ddistaw fedd!
Disgyna dagrau anian
  Ar rudd yr ieuainc ros,
A'r lili wen geir uwch ei ben
  I'w wylio'n oriau'r nos!
Mae Gwalia yn galaru
  Fel rhian geindlos, fad,
Yr hon belinia'n min yr hwyr
  Ger bedd ei thyner dad;
Ochenaid ddyrch o'i chalon
  I'r nef, tra'r byd mewn hûn,
A seinia yr alargerdd hon
  Uwch bedd ei hanwyl un:—

O! brydferth loer! angyles nen!
  A chwithau, loewon ser—
A geir wrth draed gorseddfainc wen
  Y nerthol Frenin Ner—
Tywelltwch ddagrau gyda mi
  Ar fedd fy mhlentyn mwyn;
O! Johnes! fy ngherub oeddet ti!
  O'th ol mor fawr yw'm cŵyn.

O! dwfn yw'm hiraeth ar ei ol,—
  Gwlad Myrddin sydd yn llwm!
Ar aden mellten aeth o'm col!
  Mae'm calon fel y plwm!
Ah! nis gall iaith fyth baentio llun
  Un o'r ocheneidiau fyrdd
Esgyna ar ei haden gun
  Uwch yr eangder gwyrdd!
Y diniweitiaf dan y nef
  I'w balf ga'dd angel brad;
Ei fwynder, a'i athrylith gref,
  A ddenodd serch ei wlad:
A thra bo'r Wyddfa uwch yr aig,
  Yn herio rhuthr ei li',
Ac yn ei chol ddaneddog graig,
  Ni fachlud haul ei fri!
Ni chywilyddiodd arddel iaith
  Ei wlad, a'i dewrion wŷr,
Y rhai safasant, lawer gwaith,
  Mewn brwydrau, fel y dur!
Tra troai llawer Cymro'i gefn,
  Gan wadu bro ei dad,
Caed gwyneb JOHNES, a'i wên drachefn—
  I Walia rho'dd fawrhad.
Mae'm Derwydd enwog yma'n fud,
  A gwelw iawn ei wedd;
Telynau anian fawr i gyd
  Alarant uwch ei fedd!
Hyd wawriad borau'r olaf ddydd,
  Pan lysg daearol fri,

Ei enw yn gerfiedig fydd
  Ar lech fy nghalon i.

Fel yna prudd ganai ei lwys-wlad anwylgu,
  Uwch priddell ei feddrod, yn nyfnder y nos,
Tra'r ser yn breuddwydio, a'r lloerwen yn gwenu,
  A'r gwlith yn cusanu y lili a'r rhos:
A beirdd awenyddol Deheubarth a Gwynedd
Yn plethu ei goron, yn canmol ei fawredd,
Ni luniwyd un "fwled" eill ddifa ei rinwedd,—
  Yn mynwes Britannia y gwna ei theml dlos!

O! Gymru anwylaf! dy blentyn diddichell,
  Difalais, a gollaist yn nghaddug y glyn;
Mae llèn y dyfodol i'th lygad yn dywell:
  Mor anhawdd yw deall dirgelion fel hyn!
Ond seren yr hwyrddydd, chwardd rhwng y cymylau,
Yn ddistaw yngana fod gwlad uwch yr heuliau,
Lle nad oes trallodion, na deigr, na gofidiau—
  Lle try pobpeth tywyll yn berffaith glaer-wyn.

Ah! mud yw y tafod fyrlymai hyawdledd
  Ar lwyfan Eisteddfod Gadeiriol ei wlad;
Yr anwyl lên-garwr a syrthiodd i'r dyfnfedd
  A gloddiwyd i'w gadw gan law erchyll brad!
Y genedl yn Ngwrecsam (g) a geid yn galaru,
Pan folltiodd y newydd am ddiwrnod ei gladdu;
Heillt ddagrau ei chalon dywalltai hen Gymru
  Ar feddrod y gwron deilyngodd goffhad.

Mor hawdd ydyw cofio ei wên pan areithiai,
  A'r miloedd yn gwrando melodedd ei lais,

Yr hwn, fel pêr fiwsig gwyn angel, wefreiddiai
  Y Cymro twymngalon, Albanwr, a Sais:
Ei ysbryd a daniai, ei lygad felltenai,—
Byw wreichion athrylith ac awen a daflai
I eigion pob teimlad,—chwyrn ddyrnod a roddai
  I bob anghyfiawnder, llid, gormes, a thrais!

Gwladgarwch enynodd yn fflam yn ei fynwes,—
  Gwyllt Walia gofleidiodd yn ngwyddfod y byd:
I'r oesoedd boreuol olrheiniodd ei hanes,—
  Ei chreiriau a'i chestyll a ddenent ei fryd:
Ei holion Rhufeinaidd, a'i themlau Derwyddol—
Ei gloewon afonydd, a'i chorneint rhaiadrol—
Ei chreigiog fynyddau, a'i thrumau awyrol—
  Enillent ei sylw,—fe'u carodd i gyd.

Aur-dorchau Brutanaidd (h), a thlysion Rhufeinig,
  A hunent o fewn yr Ogofau yn nghudd,
Geir heddyw yn nghol y Gywreinfa Brydeinig
  Yn gwenu yn serchog yn ngwyneb y dydd:
Yn anrheg i Frydain ein JOHNES a'u cyflwynodd,
Ac eraill o fewn Dolau Cothi a gadwodd:
Ar dyrau Hynafiaeth ei faner a chwifiodd,
  Yn Nghymru dawelgain, a dinas Caerludd!

Drwy erddi blodeuog Barddoniaeth ymlwybrodd;
Hyd aeliau Parnassus yn fynych esgynodd;
Siaradai iaith gyfrin yn nghlustiau y lloerwen;
Ymfolltiai ei feddwl o seren i seren!
Darllenodd orchestion prif feirddion yr oesau,
A mwyniant a sugnodd o'u peraidd ganiadau:

Astudiodd "Ododin" a "Misoedd" Aneurin,
A cherddi anfarwol yr enwog Daliesin;
A Myrddin a Llywarch arwrol fawrygai;
Yn nhalent fawr Lewis Glyn Cothi ymffrostiai,—
Y glwysfardd fu'n canmol nertholwych wrhydri
Gwroniaid ei henwlad, ar lenydd y Cothi!
Cain weithiau y Groegiaid, a beirddion yr Eidal,
A Ffrainc, a Germania, fyfyriodd yn ddyfal:
Cefnogodd lenyddiaeth a thalent yn Ngwalia,
A'r Awen uwch beddrod ei noddwr gwynfana!
Ar lwyfan eisteddfod, yn nghanol y beirddion,
Yn siriol ei lygad, y gwelsom ein gwron:
Gogleisid ei enaid gan ganiad ac englyn,
Neu araeth wladgarol, a diliau y delyn,
A phersain cerddoriaeth; ond, mwyach, ei wenau
Ni chawn mewn eisteddfod rhwng creig yr Ogofau,
Na thref Aberystwyth, ar lan y môr heli,
Nac unrhyw wyl farddol yn Nyffryn y Tywi:
Drwy lwyni'r Deheubarth mae'r awel yn cwyno,
Y beirdd yn galaru, a'r delyn yn wylo.

Y bardd Cymreig ga'i roesaw ganddo ef,
O dan ei gronglwyd: ah! rhyw ddarn o'r nef
Oedd Dolau Cothi i athrylith fyw!
Pa fan mwy anwyl is ffurfafen Duw?
Beirdd Breiniol ac athronwyr (j)—sereiph dawn
O Frydain, Ffrainc, a'r Eidal—yno gawn
Yn yfed o gwpanau arian serch
Ein harwr anwyl, a'i ddwy dlosgain ferch:
Fel gloew wlith disgynai'u geiriau hwy,
Neu falm o'r nef i'r fron f'ai'n goddef clwy':

O! deulu bychan, anwyl! dim ond tri,—
A'r tri yn un, o dan goronog fri!
Aur gadwen cariad yn eu c'lymu sydd;
Nos gofid gilia draw, a dim ond dydd
Deyrnasa ar ei orsedd! O! paham,
Gerllaw y ddor, yr wyla tyner fam—
Ddinawdd yn awr? Mae Dolau Cothi'n nghlo!
A'r teulu dedwydd wedi myn'd ar ffo!
Un aeth i'r bedd! a dwy yn mreichiau braw,
A hiraeth folltient hyd yr Eidal draw!
'Does dad na merch i wrando cŵyn y tlawd,
Pan êl i Ddolau Cothi ar ei rawd!
Haelioni yn ei galon oedd fel môr
O ddyfnder anfesurol: rhoddodd Ior
Yn helaeth iddo; yntau wnaeth ei ran,
Drwy roddi'n ewyllysgar gêd i'r gwan:
Angel tosturi wnaeth ei orsedd gref
Yn nghanol eang deml ei galon ef:
Ei rodd oedd barod at bob achos doeth,—
Gwrandawai lef y tlawd, dilladai'r noeth:
Gallasai sefyll fel anhyblyg gawr
Pan fyddai achos; ond ei enaid mawr
A deimlai pan ganfyddai wyneb prudd,
A deigryn bach yn urddo'r welw rudd.
Tân cydymdeimlad ynddo'n llosgi gaw'd,
Pan mewn dwfn drallod gwelai weddw dlawd
Yn cael ei churo gan y tònau erch,
A'i phlentyn bach, at-dyniad cryf ei serch,
Yn galw arni—"Rhoddwch fara im'!"
Ond yn y cwpbwrdd gwag nid ydoedd dim!

Brudd olygfa! gwelwch dirion
  Fam a'r deigryn ar ei grudd;
Clywch ochenaid drom ei chalon!
  O! ei henaid sydd yn brudd:
Ei phlant anwyl fel rhosynau
  A chwareuant ' gylch y ty,
Ond ni wyddant hwy'r meddyliau
  Lechant yn ei mynwes hi:
Haul y nef sydd yn olwyno
  Draw i fro'r gorllewin fyd,
Hithau'r ganaid loer sy'n euro
  Glwysion fryniau Cymru i gyd;
Tremio wnaf i'r bwthyn tawel,—
  Yno'r fam, a'i hanwyl blant,
Geir yn wylo gyda'r awel,
  Ac yn cwyno gyda'r nant!
Mae y tad yn tawel huno
  Is canghenau'r ywen werdd,—
Uwch ei ben ceir hono'n sïo
  Ei wylofus alar-gerdd!
Mae y dyner fam yn weddw—
  Gofid wnaeth ei bron yn sedd;
Syllwch ar ei grudd lwyd-welw—
  Parod ydyw hi i'r bedd!

Ond, gwenodd yr huan! pelydrodd yn danbaid,
A gwenau a ddawnsient ar ruddiau'r amddifaid!
Ar ol y tywyllwch, y gwawl ymddangosodd,—
Anobaith yn wyllt ar ei aden a giliodd:
Dedwyddwch a lifa i ddeiliaid y bwthyn,—
Caed JOHNES, Dolau Cothi, yn llon i'w hamddiffyn!

Rhagluniaeth a drefnodd yr enwog ddyngarwr
I fod i'r amddifaid a'r weddw yn noddwr:
Gwresogai ei galon, a rhoddai elusen
I lu o deuluoedd pan fyddent mewn angen:
Ceir gwel'd llawer dwyrudd yn wlybion gan ddagrau
Yn mhlith y tylodion yn awr drwy'n gororau:
Nid ffugio galaru a wnant, ond mae'r teimlad
Cuddiedig, yn eigion y fynwes, yn siarad.

Yr ydoedd yn Rhyddfrydwr hyd y carn:
Ni fynai wel'd ei wlad o dan y farn
Ormesol, ac ewinedd llymion trais
Mileinig yn gladdedig dan ei hais!
Derbyniodd lawer cais, o dro i dro,
I sefyll dros ei Sir yn nghanol bro
Y Sais, ar lawr Sant Stephan, fangre gun;
Ond ni chynygiodd ef mo hono'i hun
Er cael ei ro'i yn Senedd Prydain wen,
A choron Cymru'n fflamio ar ei ben!
Nis gwyddai ef beth oedd uchelgais ffol;
Ond, heb yn wybod iddo'i hun, rhyw Saul
Oedd ef yn mysg prophwydi Rhyddid dlos;
A medrai ganu yn nyfnderoedd nos,
Na wnaeth a'i ddeiliaid gam,—cydwybod bur
Ni cheisiodd rwymo erioed â chadwen ddur!

Bu'n darian i'r amaethwr yn ei ddydd:
Ei etifeddiaeth fel Paradwys sydd,—
Yn gwisgo mantell werdd mae bryn a dol,
A'r meillion wylant ddagrau ar ei ol!

**Bu'n weithiwr caled, caled, drwy ei oes;**
**Cefnogodd rinwedd, addysg, celf, a moes,**
**O fewn ei wlad: ei glodfawr riniau ef**
**A ysgrifenwyd yn nghof-lyfr y nef**
**Gan angel Ior; a byw a fydd ei barch**
**'R ol fflamia'r fynwent lle gorphwysa'i arch!**
**Dyn ydoedd, cyflawn ddyn,—nid corph, a dim**
**Meddwl—gogoniant yr archangel chwim!**
**Gwirionedd, rhinwedd, rheswm cryf, a serch,**
**A wnaent-eu cartref yn ei galon dderch:**
**Boneddwr oedd,—nid un a fynai fod**
**Yn cael ei wel'd gan bawb yn nghadair clod.**
**Yn nghalon Sir Gaerfyrddin 'r oedd yn byw,**
**A'i galon yntau oedd yn llawn o Dduw!**
**Efe oedd blaned aur yn derbyn gwawl**
**O fynwes huan ymherodraeth mawl:**
**Uwch pethau'r ddaear 'hedai'i feddwl ef**
**Yn fynych i ororau heirdd y nef.**
**Yr oedd yn Gristion gloew, pur: bu fyw**
**Gan barchu dyn, ac ofni'r uchel Dduw—**
**Tad tragwyddoldeb,—yr Anfeidrol un,**
**Yr Hwn a geir a'i hanfod ynddo'i Hun:**
**Gwelai ei waith yn gwisgo bydoedd fyrdd**
**Mewn mentyll aur, drwy'r maith eangder gwyrdd,—**
**Yn gosod ffrwyni yn ngeneuau'r mellt**
**Fflamog, a ddarniant freichiau'r wig yn ddellt!**

**Ar ofwy, i'r ardd flodau'r af,**
**Er syllu ar deleidion anian,**
**Ar forau hyfryd yn yr haf,**
**Pan chwardd y byd mewn gwisg o sidan;**

A gofyn wnaf i'r blodau heirdd—
  "Pa le mae'r gwron gynt fu yma
Yn gwrando erddyganau beirdd
  Y goedwig werdd?" Distawrwydd lywia
Yr ardd i gyd; a phlyga pob blodeuyn
Ei ben i lawr, fel pe i wylo deigryn!

O fewn i'r ardd nis ceir efe
  Yn tremio ar ei chain dlysineb;
Pob blod'yn bwyntia'i fys i'r ne',
  At erddi bythwyrdd anfarwoldeb;
Ac er yn fud, awgrymant fod
  JOHNES anwyl yn ei fedd yn huno;
Ond os yw'n fud, 'e bair ei glod
  Tra disglaer seren yn addurno
Ffurfafen Duw,—a Bryn y garth yn gwenu
Ar wawr y dydd,—a bryn, a chraig yn Nghymru!

Y borau *du* yn Awst fu iddo ef
Yn forau *gwyn!* Agorodd ddôr y nef
I'r Cristion da: gwell gan yr awen fad
Yw cilio draw, mewn hiraeth a phruddhad,
Gan wylo deigr, na rho'i darluniad llawn
O'i forau olaf ef: llesmeiria dawn,
A theimlad tyner ar ymddryllio sydd,
Wrth feddwl am yr hwn geid ganol dydd
Yn mreichiau angau'n fud ac oer, a gwaed
Ei galon friw yn ceulo wrth ei draed!
Dolefau pruddaidd dreiddent drwy y ty,—
Chwim esgyn wnaent fel mellt i'r nefoedd fry!

Yn Nolau Cothi y teyrnasai braw,
A chuddio'i ben tu hwnt i'r cymyl draw
A wnai yr haul! Pob calon yno oedd
Ar fyn'd yn ddwy! A bloedd ddilynai floedd!
Ei hynaf ferch—y fwyn Lenores (k) fad—
Tra llifai'i gwaed—uwchben ei thirion dad
A wylai ddagrau cysegredig serch:
Murmurai yntau—"CHARLOTTE hoff, fy merch!
'R wy'n marw! Rho dy law! Ffarwel i ti,—
A LIZZIE anwyl! Duw f'o gyda chwi!
O fewn y nefoedd, eto, cwrdd a wnawn:
'R wy'n marw, a fy mhen ar Ddwyfol Iawn."
Ac huno wnai! Bu farw fel bu fyw,
Yn dawel, ar ei wên (l), a'i bwys ar Dduw:
Diangol aeth, drwy darth a niwl y glyn,
I lys ei Dad, ar aden angel gwyn!

Pan y bu farw ceid ei ferch ieuengaf*
Yn Llys Llanofer. Ah! trodd haf yn auaf
Tymhestlog iddi, pan, o enau'r fellten,
Y nawnddydd hwnw, y derbyniai'r feinwen
Y geiriau hyn—"Eich tad sydd wedi marw!"
Ei chalon geid ar hollti! Wylai'n chwerw,
Ac wylo mae o hyd! Ei serchog deimlad,
Ar dir yr Eidal, hidla ddagrau cariad!
Ei serch ymglymai am ei mwyndad addien,
Fel yr ymglyma'r eiddew am y dderwen!

Dydd ei gladdedigaeth (m) wawriodd,—
Cymru geid yn gwisgo'i *du;*

* Miss Johnes.

Teimlai'n ddwfn, ac ocheneidiodd,
  Pan uwch bedd ei phlentyn cu:
Draw i fynwent wledig Caio
  Llifa'r bobloedd: dangos parch
Wnelai'r hen a'r ieuanc iddo,—
  Tywallt dagrau ar ei arch!

Dwfn ddistawrwydd lywiai dalaeth
  Y marwolion yn y fan;
Ar bob min ceid sel oer alaeth,—
  Mud pob peth ond cloch y Llan!
Y tawelwch ga'dd ei dori
  Pan roed JOHNES yn nghafell hedd;
Wylai teulu Dolau Cothi,
  Wylai pawb, ar fin ei fedd!

Ei ferch ieuengaf ddeuai'n mlaen, a'i grudd
Yn gwisgo llwydwyn ddelw hiraeth prudd;
Rho'dd ar ei arch, yn dyner, frawddeg gun,
Yr hon a blethodd hi, â'i llaw ei hun,
O flodau gwynion—"Mewn cof anwyl" am
Ei hanwyl dad, a'i cadwodd rhag un cam;
Ac ar y blodau syrthiai'i deigryn mud:
Ond cerub a sibrydai, "Gwyn ei fyd,"
Ar ddor ei arch! Y Sadwrn hwnw fydd
Yn gysegredig ganddi hyd y dydd
Y rhydd ffarwel i'r ddaiar hon a'i bri,
Pan at ei thad i'r breiniol lys aiff hi.
Ei gobaith a yngana ei fod ef
Yn glaerwyn sant, o fewn gororau'r nef,
Yn chwareu'i delyn,—coron ar ei ben,—
Yn mhlith myrddiynau y baradwys wen.

Tra yn ymdeithio drwy yr Eidal dlos,
Ei hysbryd grwydra yn nyfnderau'r nos
Hyd fynwent Caio,—sefyll wna yn syn
Ger bedd ei thad yn nghwmni angel gwyn;
A gesyd ros, a siriol lili wen,
Yn arwydd serch a phurdeb, uwch ei ben!
O Rufain fawr, Torino, à Milan,
A Florence deg—a chwardd ar brydferth lan
Yr Arno lwys, a Pisa'n nghol ei bro—
I Ddolau Cothi anwyl, ambell dro,
Ymfolltia'i meddwl heb yn wybod braidd:
Galar a serch! Eu ffrwyno, pwy a faidd?
Haws ydyw rhwymo'r môr â chadwen bres,—
Neu ddiffodd haul, er atal grym ei wres!
Ei thad sydd, er yn farw, eto'n fyw
O fewn ei henaid hi. Anfeidrol Dduw!
Trugarog, tyner, O! dal di ei phen
Uwchlaw y tònau! A than aden wen
Dy angel byddo'r fwynaidd fun, a'i chwaer
Glwyfedig, ydyw llef a gweddi daer
Eu gwlad. Er goddef erch eneidiol loes,
A gwendid corph, ceir nerth wrth droed y Groes!

Fel serth graig ar lan yr eigion,
  Sydd yn taflu'i chysgod draw
Dros arwyneb claer y wendon,—
  Felly, yn yr oes a ddaw,
Ymestyna aur linellau
  Bywyd JOHNES, ein gwron mad:
Ei wladgarwch a'i rinweddau
  Y'nt gysegrol gan ei wlad.

Awel bêr y gwanwyn fyddo
 Uwch ei fedd yn murmur cerdd;
Tithau loer a fo'n ei wylio
 Draw o'th ymherodraeth werdd:
Wyrddlwys haf! Tyr'd a blodeuyn
 Tyner, siriol, hardd ei wedd;
Gosod ef, â'i loew ddeigryn
 Gwlithog, ar ei dawel fedd!

Pêr huned JOHNES yn mynwent lwysaidd Caio
Hyd forau'r dydd pan fyddo'r Wyddfa'n neidio,
Oddiar ei gwadnau cedyrn, i'r uchelion,—
Pan fflamia'r byd,—pan ferwa tònau'r eigion:
Ar amnaid Ior y cwyd i'r Wynfa helaeth,
A bywyd chwardd ar orsedd ddu marwolaeth!

TUDUR TREFOR.

---

## NODIADAU.

Teimla yr awdwr fod ychydig nodiadau eglurhaol yn angenrheidiol ar ddiwedd yr alareb hon. Pe buasai y testyn yn frad-lofruddiad, ac nid yn alareb, buasai yn cymeryd cynllun gwahanol er cyfansoddi. Ystyriai mai doethach oedd *peidio enwi* y Gwyddel creulawn ac annynol hwnw a frad-lofruddiodd yr anwyl Mr. Johnes, o gwbl. Heblaw hyny, cafodd "Tudur Trefor" lythyrau caredig o Ddolaucothi (ac wedi hyny o Itali), yn mha rai yr amlygai Miss Johnes ei dymuniad dwfn ar i *enw y llofrudd* beidio cael ei osod i fewn yn yr Alareb ar gyfer Eisteddfod Genedlaethol Caernarfon,—ei fod yn loes i'w chalon weled *enw* yr anfadyn a gymerodd ymaith fywyd ei thad. Drwy fod yr awdwr yn berffaith adnabyddus o'r diweddar Mr. Johnes, a theulu serchog Dolaucothi, anfonodd lythyr o gydymdeimlad at Miss Johnes, yn nghydag ychydig linellau barddonol (*private*) ar yr amgylchiad torcalonus. Dyfynir rhanau o'i llythyrau:—

"Dolaucothy, Sept. 2, 1876.

"Dear Sir,

"I am requested by my poor cousin, Miss Johnes, to thank you very much for your kind letter. Of course she cannot write herself, nor can Mrs. Cookman (Mrs. Johnes) even be allowed to read the kind words that daily come from friends, but they are deeply touched by the great sympathy which meets them everywhere.

"I see from your note that you wish to know my dearly beloved uncle's age: he was born Febry. 6th, 1800. I am very thankful to be able to say that my poor cousin, Mrs. Cookman, is better, and that the Drs. consider that the wound is progressing as favourably as they can expect. Both sisters bear their trial nobly, and do all they can to uphold each other, but God alone knows the inward struggle, and He alone can help them in this heavy trial: but there are times when it is pitiful to see each deep agony of grief, for their hearts seem crushed and broken.

"Perhaps you would like to know the inscription on the plate of their beloved father's coffin: it is this:—

'JOHN JOHNES,<br>Of Dolaucothy.<br>Born Febry. 6th, 1800.<br>Died August 19th, 1876.<br>"GWYN EI FYD."<br>White, fair, pleasant, blessed his world.'

"My poor cousin, Mrs. Cookman, has suffered bitterly, but she has borne her sufferings with the calm patience of an angel. I have written very hurriedly, but I trust you will quite understand how deeply your sympathy is felt by both Mrs. Cookman and Miss Johnes.

"Yours truly,<br>"K. COOKMAN."

[Darn o lythyr arall]:—

"Dolaucothy,<br>"Llandeilo,<br>"28th Decr., 1876.

* * * *

"Allow me to suggest that in the composition of an elegy on the melancholy subject, the name of the murderer should not be brought in."

* * * *

Yn canlyn ceir achres teulu Dolau Cothi, yr hon a gyhoeddir yn ol dymuniad Miss Johnes:—

(a) ACHRES (PEDIGREE) JOHN JOHNES, YSW., DOLAU COTHI, SIR GAERFYRDDIN.

Disgynai yr anwyl wladgarwr, John Johnes, Ysw., Dolau Cothi, yr hwn sydd heddyw yn tawel huno yn ei fedd yn mynwent Caio, o deuluoedd urddasolaf Cymru. Ganwyd ef Chwef. 6ed, 1800. Bu yn Ysgolion Gramadegol Llanbedr Pont Stephan a Chaerfyrddin, ac wedi hyny o dan addysg y Parch. Isaac Lewis yn Sir Somerset. Oddiyno aeth i Brifysgol Rhydychain (Coleg

Brasenose). Graddiodd yn B.A. yn 1826, ac yn M.A. yn 1829. Priododd, yn 1822, âg Elizabeth, merch y Parch. John Edwardes, o Gileston, mab ieuengaf David Edwardes, Ysw., Rhydygors, Uchel-sirydd Sir Gaerfyrddin yn 1754, a Margaret, merch ac etifeddes y Parch. W. Willis, o Gileston Manor, Morganwg. Bu iddynt blant:—

1. *John Frederic*, yr hwn a fu farw yn faban.
2. *Charlotte Anna Maria*, yr hon a briododd y Cadben Charles C. Cookman, Monart House, Swydd Wexford, Iwerddon. Gwnaed ymgais at ei llofruddio gan lofrudd ei thad, ond da genym ei bod yn graddol wella. Y mae y foneddiges hon, yn unol âg ewyllys ei thad, eto wedi ail-gymeryd enw y teulu—"Johnes."
3. *Elizabeth* (Miss Johnes). Ionawr 19eg, 1877, gadawodd y ddwy chwaer anwyl hyn balas Dolau Cothi, ac arosant yn bresenol yn Itali, yn mha wlad y cynghorir hwy gan eu meddygon i aros am flwyddyn eto, gan fod yr ergyd drom o golli tad tyner ac anwyl wedi effeithio yn fawr ar eu hiechyd. Y mae'r ddwy yn caru iaith ac awen Cymru.

Pais-arfau *(arms)* y teulu:—*Argent, a chev. sa. inter 3 ravens ppr., in a border inverted gu., bezanteé, inverted gu., with many quarterings.*

*Crest:—Two battle axes salterwise, sa.*

*Motto:—"Deus pascit corvos,"* (Duw sydd yn porthi'r cigfrain).

Y mae y teuluoedd canlynol, ydynt wedi hanu allan o deulu urddasol a breninol Dinefwr, yn enwog yn hanesyddiaeth Cymru:—Aber Marlais, Llanbadarn Fawr, Abermâd, Llanfair Clydogau, Hafod Uchtryd, a Dolau Cothi. Olrheinir eu hanes yn ol at yr arwr Cymreig—

*Urien Rheged*, disgynydd o Coel Godebog, Brenin Prydain, gorchestion pa un (sef Urien) a ddathlwyd gan Taliesin a Llywarch Hen, yr hwn oedd yn gefnder iddo. Yr oedd Urien yn dywysog Rheged (yn awr a elwir Dumbartonshire), Godden (yn awr Cadryw neu Cadzyow, yn Swydd Lanark), a Chattraeth (sef Linlithgowshire, Ysgotland) yn amser y brenin Arthur, yr hwn a laddwyd yn mrwydr Camlan, O.C. 537. Urien Rheged a adeiladodd Gastell Careg Cennen, ger Llandeilo Fawr, ar ol ei ffoedigaeth o Iscoed Celyddon. Yr oedd yn arglwydd Cydweli, Carnwallon, Iscennen, &c. Ei fam, gwraig Cynfarch ab Meirchion ab Gorwst Ledlwm ab Cynan ab Coel Godebog, oedd Myfanwy, merch Brychan, arglwydd Garth Madryn, Brycheiniog. Priododd Urien Leffoy, neu Le Fflay, merch ac etifeddes Gwrlais *(Gorloïs* Tennyson), iarll neu ddug Cernyw, haner chwaer i'r brenin Arthur. Cawsant blant:—1. Syr Owain ab Urien; 2. Rhun; 3. Sarsel; 4. Rhiwallon; 5. Elffin; 6. Gwrthwys; 7. Cadmael; 8. Cyndeyrn, Esgob Llanelwy. Ei fab hynaf, Syr Owain, oedd yn un o Farchogion y Ford Gron: efe a briododd Denyw, merch Latho, brenin y Pictiaid. O'r briodas hon y deilliodd Goronwy ab Einion ab Llywarch ab Rhirid ab Môr ab Pasgen ab Syr Owain ab Urien Rheged. Yr oedd efe yn ar-

glwydd Iscennen; a phriododd Llewelydd, merch Einion Clyd, arglwydd Elfael, ac a gafodd fab,—*Rhys ab Goronwy*, arglwydd Iscennen, yr hwn a briododd Marged, merch ac etifeddes Gruffydd ab Ceidrych, arglwydd Gwynfai. Yr oedd ei mam yn ferch i Hywel, arglwydd Caerlleon. Elydr ab Rhys a briododd Gwladys, merch Phylip ab Bach (Gwaithfoed), arglwydd Ceredigion. Cafodd fab, sef—

*Syr Elydr Ddu*, neu *Leonard Ddu*, Marchog y Bedd Sanctaidd, yr hwn a ymladdodd yn Rhyfeloedd y Groes o dan faner Richard Cœur de Lion (galon llew). Yr oedd y gwron hwn yn byw yn y Crug, ger Llandeilo Fawr, pellder o gylch pedwar can' llathen o'r dref, ar y ffordd i Dalyllychau a Dolau Cothi. Efe a briododd Cecil (Sesil), merch Sitsyllt ab Llewelyn ab Moreiddig Warwyn, arglwydd Cantref Selyf. Cawsant fab—

*Phylip ab Elydr*, o'r Crug. Efe a briododd Gwladys, merch a chyd-etifeddes Dafydd Fras ab Einion Goch ab Gruffydd ab Einion Fychan, o Gydweli, disgynydd o Bledri, trydydd mab Cadifor Fawr, tywysog Dyfed. Ei fab—

*Nicholas ab Phylip* (*alias* Fitz Urien), o'r Crug. Priododd ei dad, yr ail waith, Jonnett, gweddw Gruffydd Fychan, arglwydd Caio a Chil y cwm, a merch Gruffydd ab Llewelyn Foethus, arglwydd Llangathen, a drigai yn Nghastell y Dryslwyn, ar lan y Tywi, disgynydd o Elystan Glodrydd (y ffurf Gymreig o *Athelstan*). Yr oedd yn ŵyr i'r brenin Sacsonaidd Athelstan, O.C. 933. Yr oedd ei diriogaethau yn gorwedd rhwng yr Wy a'r Hafren, ac a elwid Fferlis. Yr oedd Nicholas ab Phylip yn dad i'r enwog lêngarwr—

*Gruffydd ab Nicholas*, o Ddinefwr, yr hwn a elwid yn "Eryr Caerfyrddin," ac a gymerodd ran flaenllaw yn Rhyfel y Rhosynau yn mhlaid teulu Caerefrog. Yn amser heddwch yr oedd yn noddwr gwresog i'r beirdd, ac yn llywydd Eisteddfod Caerfyrddin, yn mha un yr enillodd Dafydd ab Edmwnd y gadair; a gallai, pryd y mynai, alw byddin arfog i'r maes i ymladd o blaid rhyddid ei wlad, yr hyn a'i gwnai yn fwy tebyg i frenin nac i ddeiliad. Priododd yn gyntaf, Mabli, merch henaf Meredydd ab Dwnn, o Gydweli, a Chwrt Pifwr; ac wedi ei marwolaeth hi, priododd Marged, merch Syr John Perrot, o Haroldston (Tref Harallt), a'i briod, Alice Picton, disgynyddes o Syr Guy de Bryan, Marchog y Gardas yn amser Iorwerth III. Yr oedd yn byw yn Llacharn; yr oedd yn llywydd y llynges a anfonwyd yn erbyn y Ffrancod; ac efe a gladdwyd yn mynwent Tewkesbury, wrth ochr ei wraig, yr Arglwyddes Elsbeth de Montacute, merch Iarll Salisbury. Priododd y drydedd waith â Jane, merch a chyd-etifeddes Siencyn ab Rhys, o'r Gilfach wen, Ceredigion, yr hwn a ddisgynai o Cadifor ab Dinawol, arglwydd Castell Hywel. Er ei fod yn bleidydd teulu Caerefrog, canodd yr enwog fardd, Lewys Glyn Cothi, yr hwn a drigianai gerllaw Dolau Cothi, "Awdl i Gruffydd ab Nicolas, o Dre newydd." Gwel *Gweithiau Lewys Glyn Cothi*, dos. II. 1. Lladdwyd ef yn mrwydr Wakefield. Ei fab hynaf—

*Thomas ab Gruffydd*, o Ddinefwr, a ymladdodd hefyd yn

Rhyfel y Rhosynau. Efe a ymbriododd yn gyntaf âg Elizabeth, merch ac etifeddes (drwy ei wraig i Arglwydd Mountjoy) i Syr John Gruffydd, o Aber Marlais, arglwydd Llansadwrn, y seithfed mewn disgyniad o Ednyfed Fychan, a'i wraig, Gwenllian, merch y tywysog dewr Rhys ab Gruffydd, o Ddinefwr. Bu yn Llys Burgundy yn hir, ac yno gwnaeth amod briodasol âg Elsbeth, merch John, duc Burgundy. Lladdwyd ef pan yn ymladd gornest (*duel*) yn Ngogledd Cymru, a chafodd ei gladdu yn Ynys Enlli. Gadawodd blant ar el ol—

1. *Morgan ab Thomas*, yr hwn a gymerodd blaid teuiu Caerefrog, ac a fu farw yn ddiblant.
2. *Dafydd ab Thomas*, a elwid "Dafydd y ceffyl cwta:" milwr dewr, a'i farch yn enwog hefyd am ei wrhydri ar faes rhyfel. Ymladdodd Dafydd o du teulu Lancaster.
3. *Harri ab Thomas*, o Lan Tawdde, ger Llangadog. Canodd Lewys Glyn Cothi iddo yntau, a chydmara ef i Harri II., Harri III., &c., mewn gwroldeb a doethineb. Dywed—

> "Harri ab Tomas, hirhynt,
> Ab Gruffydd, 'run gwinwydd gynt.
> Ni yrir Elidir lin
> O ael Deau led ewin.
> *   *   *   *
>
> Merliwns o Aber Marlais
> A ry dwy sel ar iad Sais."
>
> *Gweithiau Lewys Glyn Cothi*, II., VII.

Efe a briododd Agnes, merch Llewelyn ab Gruffydd ab Dafydd Ddynaw, o Elen, merch Ieuan Ddu ab Gwilym ab Phylip ab Aeddan ab Gwaithfoed, o Gastell Grosmont,—rhyfelwr cadarn yn Ngwent, O.C. 1188. Mam Elen oedd Efa, merch Meredydd ab Rhys ab Ieuan ab Dafydd ab Gruffydd Goeg. Yr oedd gan Harri ab Thomas fab, Thomas ab Harri, o Lan Tawdde, a thrwy ei wraig, o Ddolau Cothi. Efe a briododd Gwenllian, merch i Rhys ab Rhys, o Ddolau Cothi, ab Gruffydd Fychan ab Dafydd Fongam o Ystrad ffin, arglwydd Cil y cwm, a Gwenllian, ei wraig, merch Rhys ab Meredydd, arglwydd Tywyn, Ceredigion. (Gwel Awdl Dafydd Nanmor i Rys ab Meredydd). Mam Rhys ab Rhys, o Ddolau Cothi, oedd Efa (gwraig i Rys ab Llewelyn), merch Dafydd Morgan ab Dafydd Fychan ab Dafydd ab Llewelyn ab Phylip Trahaiarn, o Rydodyn (yn awr, trigle Syr James W. Drummond, Barwnig). Priododd Ieuan ab Thomas ab Harri (Parry), o Ddolau Cothi, yn gyntaf, Maud, merch Thomas ab Rhydderch, o'r Cryngae. (Gwel *Gwaith Dafydd ab Gwilym*). Yr ail waith, priododd Elen, merch Syr Richard Fychan (Vaughan), Castell Brodorddyn, Swydd Henffordd, a'i wraig, Anne, merch John Bulter, Castell Dunraven, Morganwg. O'i ail wraig cafodd yn blant—Morgan ab Harri, o Ddolau Cothi; Rhisiart ab Harri; ac Anne, yr hon a briododd Lewys, Abernant bychan, yn gyntaf, ac eilwaith âg Iago ab Ioan (James Jones), trydydd mab Syr Thomas Jones, o Aber Marlais.

4. *Dafydd ab Thomas*, (yr ieuengaf).
5. *Rhys ab Thomas (Syr)*, Marchog Urdd y Gardas: un o brif bleidwyr Harri Tudur, Iarll Richmond, yn ei ymgyrch fythgofiadwy yn erbyn Rhisiart III., a dywedir mai efe a laddodd y gwr hwnw, drwy hollti ei ben â'i fwyall, ar faes brwydr Bosworth. Enillwyd y fuddugoliaeth, ac urddwyd yntau yn Farchog gan Harri ei hun ar faes y frwydr. Y mae yr anwyl Eben Fardd wedi canu yn ardderchog am dano yn ei awdl gadeiriol "Brwydr Maes Bosworth." Nis gallwn lai na dyfynu ychydig linellau o'i awdl. Dywed, pan oedd y frwydr ar ddechreu:—

"O! 'r rhengoedd! ein tynged rhyngddynt hongia!
Syr Rhys ab Domas, yr ysbaid yma,
Dasgai ei filwyr,—ac nid ysgafala,
Ond tyn i'r byw, oedd tynwyr y bwa;
Tynent am goron Britannia,—cystal,
Ar awr y treial, ag arwyr Troia!

* * * *

Ab Tudur oedd yn curo,—a rhesau
Rhisiart yn teneuo!
A chledd Siaspar yn taro,
Ddiwrnod trin, ddau ar un tro!"

Ar ol darlunio Syr Rhys ab Thomas yn neidio yn mlaen fel llew i gymeryd plaid Harri, pan oedd ef a Rhisiart gledd yn nghledd, dywed:—

"Bu galed y bygylu,
A'r hyrddio dewr, o'r ddau du;
Ni ddorai y ddau wron
Unrhyw ffurf wnai'r waew ffon!
A theflynt o'u gwrthafiau
Ddyrnod am ddyrnod, y ddau;
Nes i Syr Rhys, aswy'r hwrdd!
Gynddeiriogi'n ddewr agwrdd,
Ac â'i fraich fraisg, a'i froch fryd,
Daro'i fwyall drwy'i fywyd!
Ar ddyrnod mor ddiwyrni,
I lawr ag ef, mal rhyw gi!"

Enillodd Ceiriog wobr yn Eisteddfod Genedlaethol Caerfyrddin, 1867, am bryddest ar Syr Rhys ab Thomas, yr hon sydd yn orlawn o dlysni a thân byw barddoniaeth. Yr oedd Syr Rhys yn meddu ar diriogaethau eang yn siroedd Caerfyrddin, Penfro, Morganwg, a Cheredigion. Yr oedd yn hynafiad Arglwydd Dinefwr.

6. *John ab Thomas*, y chweched mab o'r ail briodas, a drigai yn Aber Marlais, ac a briododd Elizabeth, merch Thomas Vaughan, o Bredwardine, o Eleanor ei wraig, merch Robert, arglwydd ——, a chafodd fab a chanlyniedydd—

*Syr Thomas Johnes*, Marchog, o Aber Marlais, a Haroldstone, yn Sir Benfro,—Sirydd Caerfyrddin yn 1541, a Cheredigion yn 1544, a Marchog cyntaf Penfro. Ymunodd mewn priodas â Mary, merch ac etifeddes James Berkeley, ail fab Maurice, arglwydd Berkeley, a gweddw Thomas Perrot, o Haroldstone, ac o'r hon, a briododd y drydedd waith â Syr Robert Whitney, y cafodd yn blant—

1. *Henry* (*Syr*), o Aber Marlais, oddiwrth yr hwn y tarddodd y "Johnes" o Aber Marlais, (yn awr wedi darfod yn y llin wrywaidd). Efe a briododd Elizabeth, merch Syr Thomas Gamage, Coety, Morganwg.
2. *Richard*, o Gwm gwili, yn Sir Gaerfyrddin, (ei hiliogaeth yntau wedi darfod yn y llin wrywaidd). Efe a briododd Elizabeth, merch Gruffydd Llwyd ab Lewis, o Gwm gwili, disgynydd o Gadifor Fawr, tywysog Dyfed. Cofnodir yn y *Book of Martyrs* am Richard Johnes fel mab i Farchog, a'r hwn a ymwelodd â'r duwiol Esgob Ferrar cyn ei losgi ar y groes yn Nghaerfyrddin, O.C. 1555, yn amser y Frenines Mari.
3. *James* (cawn son am hwn eto).
4. *Samuel*. Bu iddo y merched canlynol:—
1. *Catherine* a briododd John Vaughan, o Benbre a Dunraven.
2. *Eleanor* a briododd Griffith Price, Ysw., o Newton.
3. *Mary* a briododd Richard Gwynne, Ysw., Glan Bran.
Y trydydd mab—

*James Johnes*, Ysw., o Lanbadarn Fawr, Ceredigion, Uchel-sirydd y Sir yn 1586. Priododd âg Anne, merch John Thomas, Cryngae, Ceredigion, a Dolau Cothi, yn Sir Gaerfyrddin, a gweddw James Thomas, o Lanbadarn Fawr. O'r foneddiges hon y gadawodd (yn nghyda merch,—Mary, yr hon a briododd â Dafydd Llwyd, o Glansefin, ger Llangadog, Sir Gaerfyrddin) fab—

*Thomas Johnes*, Ysw., o Lanbadarn Fawr, a Dolau Cothi, Sirydd Caerfyrddin yn 1618. Priododd â Mary, merch James Lewis, Ysw., o Abernant bychan; ac o honi, yr hon a briododd yr ail waith â Rowland Pugh, Ysw., Mathafarn, y gadawodd ferch, Winifred, gwraig David Lloyd, Ysw., a mab—

*James Johnes*, Ysw., Dolau Cothi, Sirydd Caerfyrddin yn 1667, ac Aberteifi yn 1670, yr hwn a briododd yn gyntaf â merch Rowland Pugh, Ysw., Mathafarn, ac yn ail â Mary, merch Syr John Price, Gogerddan. Cafodd yn blant—
1. *Thomas*, ei etifedd.
2. *John*, yr hwn a briododd Anne, merch Howel Gwynne, Ysw., Glan Bran.
3. *Richard*. Bu farw yn ddiblant.
4. *James*, o'r Llandre. Bu farw yn 1709.
5. *Anne*. Priododd âg Edward Jones, Ysw., Llanina.
6. *Merch*. Priododd â John Lloyd, Ysw., Llanllawddog.
7. *Bridget*. Priododd â Thomas Lloyd, Ysw., Bronwydd.
Y mab hynaf—

*Thomas Johnes*, Ysw., Dolau Cothi, Sirydd Caerfyrddin yn 1673. Priododd âg Elizabeth, merch ac etifeddes Thomas Lloyd, Llanfair clydogau, a chafodd yn blant—
1. *Thomas*, ei etifedd.
2. *James*, o Ddolau Cothi, mab yr hwn, sef *Thomas*, o Ddolau Cothi a Phenybont, a etifeddodd ystad y gangen hynaf o'r teulu.
3. *Henry*, o'r Brunant, Caio.
4. *Winifred*. Priododd â Robert Birt, Ysw., Llandygwy.
5. *Elizabeth*. Priododd â Richard Jones, o'r Abermaw.

*Thomas Johnes*, Ysw., o Lanfair clydogau, cynrychiolydd

Ceredigion yn y Senedd o 1713 hyd 1722. Priododd yn gyntaf â Jane, merch ac etifeddes William Herbert, Hafod Uchtryd; ac yn ail, Blanche, merch David Van, Ysw., o Lanywern. Bu farw yn ddiblant yn 1733. Rhoddodd ei dreftadaeth i'w gefnder—

*Thomas Johnes*, Ysw., Dolau Cothi a Phenybont, yr hwn a briododd Mary-Anne, merch a chyd-etifeddes Jeremiah Powell, o Gumele, Sir Faesyfed, o'r hon y cafodd—

1. *Thomas*, o Lanfair clydogau, a Croft Castle, Sir Henffordd, A.S. dros Sir Faesyfed, yr hwn a briododd Elizabeth, merch ac etifeddes Richard Knight, Ysw., o Croft Castle. o'r hon y cafodd—

*Thomas*, o Hafod Uchtryd, yn Sir Aberteifi, A.S. ac Arglwydd Raglaw yn yr un Sir. Priododd yn gyntaf â Maria Burgh, o Sir Fynwy, ac yn ail â'i gyfnither, Jane, merch John Johnes, Ysw., Dolau Cothi, ond a fu farw heb un etifedd, Ebrill 23, 1816, yn 67 ml. oed.

*Samuel*, mewn urddau sanctaidd, gynt Fellow of All Souls, Rhydychain, a pherson Welwyn, Sir Herts. Cymerodd y cyfenw "Knight." Cafodd ferch—

*Louisa*, yr hon a briododd â John Villiers Shelley, Ysw., mab Syr John Shelley, Barwnig.

*Elizabeth*. Priododd â John Hanbury Williams, Ysw.

*Anne*.

2. *John*.

1. *Elizabeth*. Priododd John Lewis, Ysw.
2. *Mary-Anne*. Priododd John Hughes, Ysw., Ty mawr.
3. *Grace*. Bu farw heb briodi.
4. *Catherine*. Priododd George Lewis, Ysw., Barnsfield, Sir Gaerfyrddin.

Yr ail fab—

*John Johnes*, Ysw., Dolau Cothi. Priododd Jane, merch Hector Rees, Ysw., Cilmaenllwyd, a'r Cwrt, Penbre, Sir Gaerfyrddin; a chafodd yn blant—

1. *John*, ei etifedd.
2. *Jane*. Priododd ei chefnder, Thomas Johnes, Ysw., Hafod Uchtryd.
3. *Mary-Anne*. Priododd, yn gyntaf, â'r Parch. John Lloyd, Brunant; ac yn ail, John Phillips, Llandeilo.
4. *Elizabeth*. Bu farw, cyn priodi, yn 1842.
5. *Charlotte*. Bu farw, heb briodi, yn 1821.

Bu Mr. Johnes farw yn 1781, a dilynwyd ef gan ei fab—

*John Johnes*, Ysw., Dolau Cothi. Ganwyd ef yn 1790. Priododd, yn 1797, âg Elizabeth, merch ac etifeddes John Bowen, Ysw., Maes Llanwrthwl; a chafodd yn blant—

1. *John*, ei etifedd.
2. *Elizabeth*. Priododd William Bonville, Ysw., Bryn Tywi, Caerfyrddin.
3. *Jane*. Priododd Cadben James Beck, H.E.I.C.
4. *Mary-Anne*. Priododd Jeremiah Walter Lloyd, Ysw., Llundain.
5. *Charlotte*. Bu farw, heb briodi, yn 1836.

Bu Mr. Johnes farw ar y 12fed o Fedi, 1815, a dilynwyd ef gan ei fab—

*John Johnes*, Ysw., gwrthddrych yr alareb hon, yn 1815. (Gweler y dechreu).

(*Cafodd yr awdwr ddefnyddiau yr uchod oddiwrth Miss Johnes*).

(*b*) Dywedir fod brwydrau gwaedlyd wedi eu hymladd ger Crugybar a Maes Llanwrthwl. Saif y lle rhwng Llansawyl a Chaio, rhyw 12 milldir o Landeilo Fawr. Dywedir fod Buddug (*Boadicea*) wedi gorthrechu y Rhufeiniaid mewn brwydr yma. Ceir *tumulus* (bryn bychan), lle yr arferid claddu y meirwon, ger Pont Rhyd Remensyn, ardal Maes Llanwrthwl. Dywed un awdwr (*Williams' Eminent Welshmen*):—"*Crugybar*, or the barrow of anger and resentment, is supposed to be the place where the Romans interred some of their garrison slain during the insurrection of the Britons under Boadicea. It is related by Tacitus (*Annals, Tac. Lit.* 12) that when Ostorius commanded in Britain, he advanced within considerable distance of the channel that separates Great Britain from Ireland; and that he was for some time stationed among the Silures, or inhabitants of South Wales."

(*c*) "Mr. Johnes studied for the Bar, and was called to the Inner Temple in 1831. He practised on the South Wales Circuit until the passing of the Tithe Commutation Act, when he was appointed one of the Assistant Commissioners under that Act. Subsequently he was placed on the Admiralty, Copyhold, Enclosure, and Lunacy Commissions, though it is believed that his appointment to a County Court judgeship prevented his acting on the first two of these Commissions."—*The Welshman*, August 25th, 1876.

(*d*) "In 1847 he was appointed Judge of the County Court for this district (Carmarthen, &c.), the arduous duties of which office he discharged until 1861, when his health began to fail."—*The Welshman.*

(*e*) "He was a Magistrate for the Counties of Carmarthen, Pembroke, Cardigan and Glamorgan. On the retirement of Mr. Pugh in 1853, a requisition, signed by no less than 53 acting Magistrates, was presented to Mr. Johnes, asking him to put himself in nomination for the office of Chairman of Quarter Sessions for the County of Carmarthen, a position which he filled with the highest honour until he withdrew from public in 1872."—*The Welshman.*

(*f*) "He was also Recorder of the Borough of Carmarthen from 1851 to 1872, and Deputy-Lieutenant of the County of Carmarthen. The uncertain state of his health compelled him to resign these offices, as well as that of Provincial Grand Master (in Masonry) for the Western Division of South Wales, to which he had been appointed in 1857."—*The Welshman.*

(*g*) Dangoswyd teimlad dwfn yn Eisteddfod Genedlaethol Gwrecsam, Awst 22ain, 1877, pryd y llywyddai Esgob Llanelwy (hen gyfaill i Mr. Johnes), pan gododd y Parch. J. Griffiths, Rector Castellnedd, gan hysbysu y gwyddfodolion (tuag 8000 mewn nifer) am ei fradlofruddiad gan un a dderbyniodd y fath garedigrwydd oddiar ei law. Safodd y gynulleidfa fawr oll ar eu traed, am ryw funud o amser, yn ben-noeth, mewn distawrwydd, a llaweroedd yn colli dagrau yn hidl ar ol un a fu yn un o brif noddwyr talent ac eisteddfodau Cymru.

(*h*) Casglodd Mr. Johnes lawer o olion hynafol o hen orsaf Rufeinaidd yr Ogofau, yr hon sydd gerllaw Dolau Cothi. Gwelsom rai o'r cywrein-bethau hyn yn yr Amgueddfa Brydeinig yn Llundain, y rhai a anrhegwyd i'r genedl ganddo. Cafodd yma dorchau aur, &c. Bu y Rhufeiniaid yn ffodus iawn drwy gael allan symiau da o aur o'r Ogofau hyn.

(*i*) Yr ydym yn cofio Mr. Johnes yn llywyddu, ac yn traddodi areithiau Cymreig gydag yni a thân, yn Eisteddfodau yr Ogofau, 1858 ac 1864. Yn Eisteddfod Genedlaethol Aberystwyth, yn 1865, llywyddai yr ail ddydd; a rhoddodd wobr o 10p. am draethawd ar "Y Gwir yn erbyn y byd," yr hon a enillwyd gan Glasynys. Y tro olaf, feddyliwn, y llywyddodd mewn eisteddfod o nod, oedd yn Llandeilo Fawr, yn 1870.

(*j*) "Men eminent in their various departments of knowledge, science, and art, always found a cordial and congenial welcome at his house. Himself a scholar of sound and general cultivation, a fluent speaker in French and Italian, and gifted with a marvellous memory which never seemed at fault for facts, or apt questions, he enjoyed the friendship of many distinguished men."—*The Welshman.*

(*k*) Ar ol i'r brad-lofrudd saethu Mr. Johnes yn ei fyfyrgell, daeth i'r gegin a saethodd Mrs. Cookman, ond ni fu yr ergyd yn farwol. Aeth i'r tai allan, gan saethu rhai o'r anifeiliaid; ac yna, aeth i'w gartref yn Nghaio, ac i'r llofft; clywyd twrw,—cafwyd ef yno yn ei waed wedi saethu ei hun! Mae Mrs. Cookman (Johnes) yn llenores o fri, ac hefyd ei chwaer, Miss Johnes,—darllenant, siaradant, ac *arferent* ganu yn yr hen iaith Gymraeg, yr hon a anwylir yn fawr ganddynt. Pan lofruddiwyd ei thad, yr oedd Miss Johnes ar ymweliad âg Arglwyddes Llanofer (Gwenynen Gwent).

(*l*) "He died commending his soul to his Maker, and breathing out words of blessing on his children. Such was the man whose life was sacrificed by the miscreant who, in cold blood, plotted his murder and the murder of his daughter."—*The Welshman.*

(*m*) Claddwyd ef yn meddrod y teulu yn mynwent Eglwys Caio, dydd Sadwrn, Awst 26ain, 1876. Yr oedd am dano ddau arch—un o blwm, a'r llall o goed a wnaed o'i dderwen ef ei hun. Yr oedd iddo gladdedigaeth dywysogaidd. Yn y cerbydau galar ceid ei ferch, Miss Johnes, a'r Wir Anrhydeddus Arglwyddes Llanofer, Llanofer, Abergafenni; y Parch. F. Edwardes, Gilston, Morganwg, (brawd yn nghyfraith Mr. Johnes); Walter Lloyd, Ysw., Pant yr Athro, Caerfyrddin; W. Bonville, Ysw., a Herbert Lloyd, Ysw.,—ei neiaint; Col. Ferguson Davy; Capt. Ivor Herbert, Llanarth; F. Phillips, Ysw., Penparc; J. Lloyd, Ysw., Brunant, &c. Gweinyddwyd y gwasanaeth yn gyfangwbl yn yr iaith Gymraeg gan y Perigior, a'r Parch. Canon Phillips, Aberystwyth. Canwyd emyn yn Gymraeg. Gosododd Miss Johnes ysgrif-rôl ar ei arch, ac arni—"Gan ei blant, ag oeddynt anwyl iawn ganddo, ac yn ei garu yntau yn fawr iawn." Hefyd, plethodd y geiriau can-

lynol o flodau gwynion Awst—"Mewn cof anwyl," a gosododd hwynt â'i llaw ei hun yn dyner ar yr arch lle y cysgai ei hanwyl dad ei hûn olaf. Rhoddwyd hefyd flodau arno gan Arglwyddes Llanofer, a gwasanaethddynion Dolau Cothi, &c., y rhai a wylent ddagrau yn hidl uwch ei fedd.

TUDUR TREFOR.

---

CYWYDD—

# CLADDEDIGAETH MOSES.

GAN R. A. WILLIAMS (BERW), BANGOR.

---

MOSES oedd gawr grymuswaith—
Gwron teg i arwain taith.
Hen arweinydd yr anial
Nid elai ger Sinai'n sâl;
Eithr âi 'mhell, a thrwy y mwg,
I deimlo y Duw amlwg!
Ha! mwg niwliog magnelau
Duw, o hyd, yn ymdewhau:
Mellt Ion, fel coron cerydd,
Yn llawn rhwysg, yn troelli'n rhydd
O'i gwmpas, yn urddas nef;
A dialedd, mewn dolef
Ymrwygol, yn mawrygu,
Fodd erch, yr olygfa ddu!
Ofn mellt erchyll a gwyll gaid
Ar welwon, fud Israeliaid:
Wele, dorf, yn ymyl du
Fwg yr Ion, yn claf grynu!
Er hyny, eu harweiniwr,
Wrth law, geid yn nerthol wr;

Y gwron hwn geir, yn awr,
Yn cyrhaedd hyd drânc orawr,
Lle mae angeu llym, ingol,
Trwy ei nerth, yn troi yn ol
Y dyn hardd yn ddaear ddwl,
Heb rodd, neu fodd i feddwl!
Arweiniodd, drwy yr anial,
Deulu Duw; wele ei dâl:—
Ni cha' waeledd, na cholyn
Ing dwys gwely angeu dyn;
Ond caiff rywfodd, heb ddioddef,
Farw'n *iach* wrth fur y nef!

I ben Nebo, annyben
Esgyn wna, is gwenau nen;
Ac yno, uwchben Canaan,
Sylwa'n hir, nes êl yn wan,
Yn wylaidd ar hafaidd wrid
Gwlad ei Dduw, gwlad addewid!
I farw ef a orwedd,
A'i Ion ddyd obenydd hedd
I'w gynal dan rwyg einioes,—
Sel Duw ar noswyliad oes!
Ei anadl wan dawel 'hed,—
Mae ei einioes yn *myned!*
Wele'i waed, fywydol li',
Yn drai aeth drwy ei wythi!
Aeth llanw traethell einioes
Yn drai sych blinderus oes!

Nid oedd neb, ar ben Nebo,
I'w cael, ond angeu ac o;
A'i Dduw hefyd yn ddwyfawl
Gydymaith, is gwenwisg wawl!
Uwch ei gorphyn dyn nid oedd,
Ond henafiaid y nefoedd;
Dd'wedai neb, neb ond y nhw—
"Dyma wr wedi marw!"
Diameu Duw a'i hamdôdd;
Hwn, o'i fynwes, anfonodd
Deleidion i'w dylodi,—
Blodau wnaent i'n blodion ni,

Er rho'i parch, oll wyro pen,—
Edwi'n wylaïdd dan heulwen!

I'w angladd dêl angelion—
Torf wen, deg—'n ol trefniad Ion:
Bodau hyfryd byd uwchben,
A'u *galarwisg* yn *glaerwen!*
Am ei gorph ef yn ymgau
Mae elor o gymylau
Digymysg,—un du gwmwl
Ni ddaw wna'r olygfa'n ddwl.
Yn wych, heb wall, uwch ei ben
Haul eurliw yw'r elorlen!
Rhyw wibiedig gerbydau
Ysplenydd sydd yn neshau,—
Rhwydd yw yr hynt ar ddiri'
Olwynion o oleuni!
A nefolion yn filoedd,—
Nefol lu'n rho'i llawen floedd
I Moses, yn rymusawl,
Yn mhob hyfryd gerbyd gwawl!

Gloew-wedd deg gladdedigaeth,—
Y dydd hwn, ein Duw a ddaeth
O'i lys, heb ddifaol wg,
I ro'i gwaeledd o'r golwg.
Hyd i'r glyn y dirgel ehed
I agor bedd â'r gair "Bydded!"
Ei allu Ef yw'r holl waith—
Yr amdo a'r orymdaith!
Ar war awel, yr elawr,
Drwy y nef, gludir yn awr;
A phurwyn, deg offeiriad
Nef y nef sugna fwynhad
I'w drag'wyddol, freiniol fron
Yn noswyl un o'i weision!
Dilyn y gannaid elor
Wna bendigaid gannaid gôr;
Côr llon, heb y cywair lleddf,—
Un a'i ganu yn *gyneddf;*
Yn bur dorf, a'i seinber dant
Yn delynol adloniant.

Elai'n iach, o'u canol nhw,
I ganol y mwg hwnw!

Seiniant gudd dannau rhuddaur,—
Alaw nef ar delyn aur!
Uwchlaw bedd, gwaeledd, neu gur,
Moses sy'n dysgu'r mesur:
Mewn hedd nefolaidd, mwynhau
Ei dant wna'i enaid yntau!
Ac mae Enoc, mwy hynod,
Gyda Duw, 'n deg, wedi d'od
O ogoniant cain gwiwnef,
*Ydyw, a'i gorph gydag ef!*
Dyma wr esyd Mawredd
I arwain saint teyrnas bedd,
Yn golofn, heb swn galar
Ar ol corph marwol eu câr.
Iaith och nid oes, na thuchan,
Na grudd wleb, drwy'r osgordd lân;
Heb ddaearol ymddolef,
Llawenhant yn null y nef!
Mewn dull dwyfol o foli,—
Dull nef, uwchlaw'n deall ni!

Wrth reol anfeidrol fys
Anfarwol dorf nef erys;
Yna cawn hwy, 'n mlaen ac ol,
Ar lwyfanau'r elfenol
Fyd, yn rhyw dyrfa fawr, fawr,
Yn sylwi ar gwrs elawr:
Ac o'r heulog orielau
Llu nef sydd yn llawenhau
Tra sylwant i'r iseledd
Ar wael fan daearol fedd,
Am mai byw byth mwy, heb baid,
Wna gwyn gadwedig enaid!

O'r hedd-osgordd Ior ddisgyn
I fyd galar,—daear dyn:
El a'i faich mewn dirgel fodd
I gŵr y bedd agorodd.

Oddi uchod daw blodion
Gwynaf ddail teg nefoedd Ion:
Isod yn bwysïau dèl
Hwy fwrir dros nef-oriel:
A Duw'r nef, eu hawdwr nhw,
Ddifyrus gladd ei farw
Yn eu mysg, a llian main
Ei gariad, fel clog gywrain,
Am y corph, a gemau cu
Rhinwedd arni'n serenu!
A'r hynod, hen arweinydd,
'N ol trafferthus, ddyrus ddydd,
El i'r glyn mewn dysglaer glog—
O law Duw yn flodeuog!

Ar ei gu lwch, Ior a glodd
Y drws,—mae'r angladd drosodd;
A'r dilynwyr adlonol
Ant adref i'r nef yn ol!

Ha! wr Duw, â'th fro dawel,
Yn orwych, mynych ymwel—
I chwynu'r llwch—hwn a'r llall
O dir y bywyd arall!
Ond ŵyr neb, drwy'n daear ni,
Sill o'r hanes lle'r huni!
Wylo mwy am wely mab
Mae awen yn nglyn Moab!

TREIDDGAR.

# CYNDDELW.

*CAN GYNGHANEDDOL, neu AWDL, yn cynwys deg o'r 24ain mesur gwarantedig, yn rheolaidd, oddigerth ychydig eithriadau dibwys; wedi eu trefnu yn benillion ar y dôn "Calon Drom." Gellir hefyd eu canu ar dant ar unrhyw alaw a weddai i'r testyn, yn ol rheolau y ddysgeidiaeth hono.*

GAN IOLO TREFALDWYN.

Canoedd wylant am CYNDDELW—
Y gwr hynaws, hawddgar hwnw,—
Pur i'w genedl, campwr gonest,
Cywir archiad, cawr ei orchest;
Gwr a'i anian mewn gwir yni,—
    Gweithio'n ddibaid
'R oedd, â'i enaid, ryw ddaioni.
Gywir fynwes, dengar fonedd,
    Mwyn ei ysbryd,
Od o ddiwyd hyd ei ddiwedd.

Ac e'n ieuanc yn ei awydd
O ddawn hylwydd awen hwyliog;
Cywir, enwog, gwir awenydd,
Ddoniau dedwydd yn odidog.
Canai'n wlithog, yn mlodeuog
    Deimlad awen,
Eiriau llawen, gwir alluog.
Pan yn tyfu gyda'r lluoedd,
    Addawedig
Pen gweledig pinagl ydoedd.

Yn awr, gwelid fod argoelion,
Yn ddiguraw, ddefnydd gwron;
A dangosai, nid anghyson,
Em o'i degwch i'w gym'dogion.
Pan yn fachgen fe ddarllenai;
    A'r holl gyfrol,
Yn wastadol, ddwfn astudiai:
Yn mhlith campwyr, lluwyr llawen,
    Ef oedd baladr
Yn Llanrhaiadr,* llwyn yr awen.

Duw, 'n ei breswyl, a fu'n gwylio,
Heulawg ernes, olwg arno;
A rhagluniaeth ddirgel wenodd,
Ac at Iesu cu a'i t'wysodd;
Yntau'n enwog gyfoethogi,—
    Dodrefn purlan
Duwiol anian wedi'i lenwi;
Ac, â mesur Duw'n cymhwyso,
    Dyn o bwrpas
I wneyd addas genad iddo.

Duw a'i galwodd ac a'i nerthodd,
A'i harddelodd, a'i wir ddilyn:
Trwy'r blynyddoedd llanwai'r cylchoedd
Oedd y nefoedd yn ei ofyn.
Ni cha'i cerydd, ni cha'i cariad,
    Pwyll na damwain,
Ei gamarwain o'i gymeriad.
Wrth bregethu'r ffordd i'r truan,
    Byddai'n gwylio
'I fod yn rhodio hono'i hunan.

Oes lafurus o lefaru
Fu ei dymor fywyd yma;
Gwych ei rodiad teg, a chredu
Yn ngwir achos y Gorucha':

* Ganwyd a magwyd Cynddelw yn mhlwyf Llanrhaiadr Mochnant, swydd Drefaldwyn.

'N enwog wron, un o gewri,
A'r bendigaid
Duw oedd enaid ei ddaioni.
Ei ddawn ef, yn llaw y nefoedd,
Ydoedd ysbryd
A mwyn fywyd cymanfaoedd.

O'i hael addysg, fe gaed gwleddoedd
O'i ganeuon bywiog, newydd;
Ac mor anwyl Cymru wenodd
Ar bêr odlau'r bur hyawdledd.
'E fu'r ddenol, deg farddoniaeth—
Weithiau cedyrn—
Yn llawn addurn i'n llenyddiaeth:
O'i bêr awen, mae'i bur weoedd—
"Adgyfodiad"*—
Heddyw'n siarad,—ddawn y siroedd.

Ei "Ddystawrwydd,"† a'i ystyriol
Odlau mesur, diliau moesol:
Ei holl "Ferwyn"‡ sy'n llifeiriol
O wir awen, cywir reol:
A rhed *lava*, 'n ffrwd dylifol,
O'i farddoniaeth,—
Asbri odiaeth, ddawn ysbrydol:
Ac o eithaf diliau'r "Tafol,"||
Rhed digymysg
Win o'i addysg awenyddol.

Yfir hwnw tra f'o rhinwedd,
A mwyn odlau mewn hyawdledd.
Un ag ydoedd feirniad cadarn,—
Ni wnai'r drygfoes na'r diragfarn
Ei gamwyraw, briwio'r awen;
Ni wnai pleidio
Iddo wyro, mwy na'r dderwen.

* Ei awdl fuddugol ar y testyn "Adgyfodiad."
† Ei awdl ail oreu yn Eisteddfod Porthaethwy.
‡ Ei gywydd ar Fynydd Berwyn.
|| "Tafol y Beirdd," sef traethawd ar farddas Gymreig.

Gyda byd yn gydwybodol,
      A'i feirniadaeth
Oedd ddysgeidiaeth addysgiadol.

Ac ef ydoedd ein cofiadur,—
Gwr i'w adwaen fel geiriadur;
A'n diddanydd, nodwedd hynod,
Hyd ei ardal fu'n hawdurdod:
Mewn hynafiaeth odiaeth ydoedd,—
      Gwnai ddifyrwch
O ddyrysweh cudd yr oesoedd.
Un a llawer o alluoedd:
      Llyfrgell helaeth
O wybodaeth cerub ydoedd.

O! ein llwyfan heb ddull hafaidd
Un o ddygiad boneddigaidd;
Colli beirniad call, heb wyrni;
Cawr yn addurn cywrain iddi;
Un mor dirion, a wnai'n lloni,
      Ro'ed yn isel
I'w dŷ tawel wedi tewi.
Ef, y llonaf gyfaill enwog,
      'N ol ei 'wyllys,
Acw erys yn nglyn Ceiriog.

Mae swn wylaw clwyfus, tawel,
O Sirhowi'n* sü yr awel!
Yn ei gyrfa,—ac o Arfon,—
Uwch ei wely'n tori'i chalon,
Fel yn ddwys, o dan fawr bwysau,
      Prudd, parchedig,
Achwynedig ocheneidiau.
Yn ein tymor byr a'n soriant,
      Wedi marw
Ein CYNDDELW, 'n canoedd wylant!

AB MYLLIN.

* Bu Cynddelw yn gweinidogaethu yn Sirhowi dros lawer o flynyddau.

# CAN DDIRWESTOL.

## GAN HYWEL TUDUR.

GYFERBYN ag Arwydd y Bedol,
  Wrth rodio yr heol ar hynt,
Swn dawnsio gwych, yno, a chanu,
  Oedd heibio i mi'n gyru'n y gwynt:
Perseiniau y delyn hudolus,
  A chymysg rai hapus y crwth,
A lwyddodd i f' enill, am funud,
  I newid fy mywyd a 'mwth.
Mae'r ddryccin yn oer ac yn arw,
  A'r grechwen yn galw'n y gwynt,
Gyferbyn ag Arwydd y Bedol,
  Wrth rodio yr heol ar hynt.

Wrth groesi y rhiniog garedig
  I neuadd baentiedig y ty,
Mi a'i gwelwn yn lân ac yn loyw,
  A'r cwmni mor hoyw, mor hy';
Ond, prin y ce's osteg i eistedd,
  Na welais y llygredd yn llawn,—
Y canu, a'r ymffrost disylwedd,
  Yn faswedd, yn gabledd a gawn.
O swn y rhegfeydd yn Modfeddw,
  A'r berw a'r twrw o bob tu,
Mi groesais y rhiniog siomedig
  O neuadd baentiedig y ty.

Ymwelais â bwthyn anniddos
  Y meddwyn, ar gyfnos dydd gwaith;
'R oedd yno blant bychain, diniwaid,
  A phriod,—a'u llygaid yn llaith:

Y gwr oedd yn difa'n y dafarn,
Ac angen yn farn yn ei fwth,—
Eisteddai ar bentan ei aelwyd,
Fel cenad o gronglwyd y crwth.
Ni'm cipir gan swynion y gwpan,
Na tharan ei chynghan ychwaith:
Mi welais hen fwthyn anniddos
Y meddwyn, ar gyfnos dydd gwaith.

Pwy welai mor swrth yn ymorwedd,
Heb fonedd, yn anedd y nos?
Paham y mae'r cryf mor ddiallu, 'n
Ymollwng i fferu'n y ffos?
Mae'r awel oer, oer o'r Eryri
Yn d'weyd yn y perthi, 'n ein pau,
Mai diddos yw aelwyd dyn sobor,
A'r ddor wedi, â'i chynghor, ei chau.
Ymgadwaf yn mhell rhag y gwpan,
Rhag myned, ar ffwdan, i'r ffos,
Wrth gofio'r gwr swrth fu'n ymorwedd,
Heb fonedd, yn anedd y nos.

Y plentyn oedd dyner, diniwed,
A welais, ar arffed ei fam,
Yn adrodd ei weddi fach, hwyrol,
Rhag myn'd yn blygeiniol ar gam:
Ei liniau yn gydiol, blygedig,
A'i ddwylaw mawledig yn mhleth;
A'i drem tua nefoedd yr Iesu,
Mor wylaidd, yn syllu mor seth.
Ti, sarph llety'r gynen a'r dadwrdd,
Ymatal, na chyffwrdd â cham
Y plentyn bach, anwyl, diniwed,
A welais ar arffed ei fam.

Mewn carchar-gell hwyrol, yn llawrudd,
Yn feddwyn, yn llofrudd, yn llanc,
Adwaenaf, mewn ingoedd ofnadwy,
Y plentyn, ar drothwy ei dranc:
Ei ddwylaw, mewn cadwyn o haiarn,
A blethwyd, hyd farn a fydd fawr;

A'i dremyn yn wallgof, siomedig,
  Yn 'mofyn ei lleithig o'r llawr.
O! deffro, ddyngarwch, a gwrida
  Am oddef magwrfa'r fath gam
I'r plentyn bach, anwyl, diniwed,
  A welais ar arffed ei fam!

Draw, draw, gwelaf ddiwrnod i wawrio,
  A'r udgorn yn seinio—"Nesewch,
O'ch tramgwydd a'ch trymgwsg, farwolion,
  A'ch dedfryd yn gyfion a gewch:"
Y dyrfa hud-ddenwyd, ar encil,
  A'r gwpan, yn filfil a fydd;
A'r nefoedd yn gwgu'n ddigymod,—
  Y diwrnod yn drallod a drydd.
I flysiau na fyddwch yn wasarn,—
  Y ddiod a'r dafarn gadewch;
Gwybyddwch, mae'r diwrnod i wawrio,
  A'r udgorn i seinio—"Nesewch."

Boed llwyddiant i Ddirwest i ddarwain
  Y ddiod o Frydain ar frys;
A galwer i'r gad, i ergydio,
  Y bonedd sy'n llywio y llys.
Wrth gofio'r rhegfeydd yn Modfeddw,
  A gwneuthur o'i gwrw'r fath gam,
A chofio y plentyn diniwed
  A welais ar arffed ei fam,
Dyrchafaf fy llef, gyda'r miloedd,
  At Arglwydd y lluoedd, a'r llys,
Am lwyddiant i Ddirwest i ddarwain
  Y ddiod o Frydain ar frys.

MAES Y PLWM.

TUCHANGERDD—

# Y BALEDWR PEN FFAIR.

GAN THALAMUS.

FEL bardd a dadganwr, ni bu, ar fy ngair,
  Gyffelyb JOHN THOMAS (Ab Einion);
Ond gelwir ef "Shoni'r Baledwr pen ffair,"
  Gan hogiau direidus Caernarfon:
Arferiad ddrygionus gwehilion pob oes
  Yw mathru talentau'n prif ddynion;
Ac heddyw, 'r Eisteddfod a esyd y groes
  Ar ysgwydd ein cyfaill AB EINION.

Ei achau gyfrifid yn ddynion o nod
  Cyn dechreu 'sgrifenu hanesiaeth;
A doethion yr oesau ddywedent eu bod
  Fel ser yn ffurfafen llenyddiaeth:
Ni fu'r fath awduron erioed yn y wlad—
  Awduron ar bob math o bynciau;
Ond, rhywfodd, Cenfigen a ddaeth, yn ei brad,
  I'w rhwystro i argraffu eu llyfrau!

Bu un o'i berth'nasau'n llys Arthur mewn bri,—
  Efe oedd "bardd teulu" y brenin;
Os gwir ydyw geiriau AB EINION i mi,
  Rhagorai yn mhell ar Aneurin:
Yr oll o'i hynafion oe'nt feirddion diail,
  A chadwent eu clodydd trwy'r oesau;
Er hyny, ni welodd goleuni yr haul
  Un englyn na phenill o'u gweithiau.

Ond AB yw y goreu o'r cyfan i gyd,—
  Mae ef a fy hunan yn gwybod;
A Chymru gollfernir yn awr gan y byd
  Am na chafodd urdd mewn eisteddfod:

Bu'n gofyn am urddiad gan wŷr y Vord Gron,
  Ond Ceiriog a drodd yn ormeswr,
Gan ro'i iddo seren o bren ar ei fron,
  A'i alw yn "Shoni'r Baledwr."

Ond nid ydyw urddiad yr orsedd yn awr,
  A'r enwau a ro'ir i'r prydyddion,
Yn deilwng yn ngolwg athrylith wir fawr
  Fel eiddo'r talentog Ab Einion:
Mae ef yn fardd natur, nid bardd 'n ol y ddysg
  Druenus gyfrenir yn mhobman;
Mae felly'n wahanol i bawb yn ein mysg:
  A chym'rodd ffugenw ei hunan.

Mae gwrando Ab Einion, ryw nos, wrth y tân,
  Yn son am ei ddoniau barddonol,—
Neu'n adrodd rhyw ddarnau hededog o'i gân,—
  Yn swyno pob dyn yn rhyfeddol;
Er hyny, rhaid myned i ganol y ffair,
  Er gwaethaf y bloeddio a'r dwndwr,
Cyn byddwn alluog i dd'wedyd un gair
  Am dano fel "Shoni'r Baledwr."

Awn, bellach, i weled fath le yw y ffair,
  Gynhelir yn nghanol bloeddiadau;
A rhodiwn o amgylch, am ddwyawr neu dair,
  I weled yr holl ryfeddodau:
Mae hon, fel holl ffeiriau cyffredin y byd,
  Yn orlawn o wagedd a meddwon;
A gwagder a leinw'r gwallgofdai i gyd,
  Er mwyn rhoddi ffair i'r ynfydion.

Crygleiswyr y cread a alwyd yn nghyd
  I gael cystadleuaeth grygleisiol;
A thyngaf na chlywyd erioed yn y byd
  Fath gyfrol o swn calon-rwygol:
Ond, clywch! mae un lleisiwr ar enill y gamp,
  Er clodydd annhraethol y Brython;
Ei lais a ddysgyblwyd yn dda gan ei fam;
  Pwy yw, ond ein cyfaill Ab Einion!

Dyn mawr o gorpholaeth, ac hytrach yn dew,
  Yw Ab, ac edrycha trwy'i spectol:

Yn ofer y chwilia ei wyneb am flew;
  Ac felly, mae'i wedd yn farddonol:
D'weyd defnydd cysefin ei ddillad sy'n dasg,
  Neu, ynte, eu lliwiau yn wreiddiol;
A heria alluoedd gohebwyr y wasg,
  A'r oll o'n cyfeillion dewinol.

Ust! dacw fo'n dechreu, a chyfyd ei dôn,
  Gan dd'wedyd,—"Càn newydd, gyfeillion,
Sef hanes etholiad Seneddol yn Mon,
  O'm gwaith i fy hunan, AB EINION:
Càn arall, yn rhoddi holl hanes y ferch
  A foddodd ei hun yn Maenclochog,
O herwydd ei thwyllo gan wrthddrych ei serch:
  Eu pris hwy, gyfeillion, yw *Ceiniog*."

Ac yna, mewn eiliad, fe gododd ei lais,
  Gan ffugio ei hunan yn canu;
Ond dyma'r tro cyntaf i Gymro neu Sais
  I lwyddo i'n cwbl syfrdanu:
Pe'i wddf yn llawn cloron cyn boethed a thân,
  Neu pe yn dychrynu rhag marw,
Nis gall'sai'r baledwr byth floeddio ei gân
  Druenus, un gronyn mwy garw.

'N awr, AB, neu y "Shoni'r Baledwr pen ffair,"
  Rho glo ar dy enau,—mae'n aflan:
*Tydi* 'n gyfansoddwr! anwiredd, bob gair,
  Ddywedaist am danat dy hunan!
*Tydi* yn ymffrostio dy fod yn un da
  I ganu caneuon hyglodus!
Dos adref, yn union, i ddysgu'r Sol Ffa,
  A chliria dy gryglais truenus!

Nid oes—o Gaergybi, yn Mon, hyd Ben Arth,
  Morganwg—un drelyn mor ddiog;
Mae'th enw, faledwr, trwy Gymru yn warth,
  A'th briod a'th blant yn newynog:
Dos adref i weithio, i'w cadw yn glyd,
  A gad dy ffug-ganu a'th ddwndwr:
A chwithau, fynychwyr y ffeiriau, mae'n bryd
  I atal hen "Shoni'r Baledwr."

HORACE.

# HWIANGERDDI.

GAN JANE ANN DAVIES, PORTHAETHWY.

Ai myfi sy'n magu baban?
  Pwy a'm dysgodd at y gwaith?
Pwy ro'es ynwyf deimlad cynes
  At ei gri a'i ddagrau llaith?
Ah! fy anwyl blentyn ydyw,—
  Trysor roddes Duw i mi:
Ef ro'es ermig yn fy nghalon
  Gana *hwian* dros ei gri.

Siglaf gryd fy anwyl blentyn,
  Dichon sigla yntau'r byd;
Ond gobeithio nad rhyfelwr
  Fydd fy maban serchog fryd:
Bydded Handel, Watts, neu Newton,
  Neu bregethwr mwya'i oes.
Ah! ai seren wyt, fy mhlentyn,
  Yn ffurfafen dysg a moes?

*Hwian bei*, y bychan serchog,
  Paid a llefain, "â, mi â;"
Tymhor gauaf yw, f' anwylyd,—
  Paid a chychwyn dan yr ha';
A phan fyddi yn fy ngadael
  Ar ryw adeg yn dy oes,
Credaf bydd dy ymadawiad
  I dy fam yn chwerw loes.

*Hwian*, baban, paid ag wylo,
  Tithau newydd gael y fron;
Paid a sugno'th fawd bach, anwyl,—
  Paid gwneyd gwg ar wedd mor lon:

Dyna'th lef,—wel, *hwi bei babi*,—
  Paid a llefain, wele'th fam,—
Boddlon yw i ddioddef pobpeth
  Cyn y caiff ei phlentyn gam.

Cwsg, fy maban tyner, anwyl,—
  Mae dy fam yn siglo'th gryd;
Credaf fod rhyw angel hefyd
  Yn dy wylio yr un pryd:
*Swian, swian*, paid ag wylo;
  Credaf fod dy swn heb sail,
Gan dy fod, wrth edrych arnaf,
  'N wylo a gwenu bob yn ail.

O! dy lygad bach, diniwaid!
  A'th law dlos yn rhwbio'th drwyn;
Blinder cwsg wna chwareu'th nwydau,—
  *Hwian, hwian*, faban mwyn.
Pan wnei ddeffro o dy gyntun,
  Cei wel'd dada tua saith:
*Sû-hwi-hwian*, cwsg yn esmwyth,—
  Pa'm y gwnei dy ruddiau'n llaith?

Delw'th dad sy'n amlwg arnat,
  Yn gorseddu ar dy rudd;
Dyna'th wedd yn 'stumiau cuchiog,
  Fel fy nain pan fyddai'n brudd:
*Sû-hwi-hwian*, paid a chrio,—
  Anwyl fabi, cwsg dy hûn:
Ar fy nghalon, wedi'u cerfio,
  Mae dy enw a dy lun.

Effaith cwymp a fu yn Eden
  Yw dy grio, druan bach:
Caffael ffydd yn haeddiant Iesu
  Raid it' gael i'th wneyd yn iach.
Fel ymlidiai swn y delyn
  Yn llaw Dafydd, ysbryd drwg,
Felly mae fy *hwian* inau'n
  Troi oddiwrthyt tithau wg.

Llais fy *hwian* yw dy fiwsig,—
  Hwn yw syml swyn dy hûn;
Dyma gartref *sû-hwi-hwian*,
  Rhwng dwy fron dy fammaeth fun;
Hyn yw'r achos o'r dylanwad,—
  Brawd i'th anian yw'n ddiau,—
Sain blethedig yw o'n cariad,—
  Hyn wna'th emrynt bychain gau.

*Hwian*, *hwian*, faban bychan,
  Dyma'm dwylaw'n dod i'th nol;
Cwsg, yn awr, i leddfu'th flinder,
  Tra'th gofleidiaf yn fy nghol:
Fel pleth arian am yr afal
  Yw fy serch am danat ti:
Cwsg, fy maban bach, deniadol,—
  Bywyd wyt i'm calon i.

Huna'n dawel,—fel y rhosyn
  Yn amgau, ar fin yr hwyr,
A'i sirioldeb yn ymguddio
  O dan fantell cwsg yn llwyr.
Trysor bychan gawsom ydwyt,—
  Llais ein teimlad yw dy lef:
*Hwian*, *hwian*, f' anwyl faban,—
  Mae dy gwsg fel gwynfyd nef.

Mae fy *hwian* wedi'th drechu,
  Mewn tawelwch cysga'n awr;
Ond fy *hwian* eto swyna
  Bob swn arall hyd y llawr:
Fel y sua'r awel dyner
  Uwch cwsg blodau yn y nos,
Felly mae fy *hwian* inau
  Uwch dy hûn ddiniwaid, dlos.

ANNA MON.

## GOSTEG O DDEUDDEG ENGLYN*—

# Y MISOEDD.

### GAN MORWYLLT.

AER y flwyddyn orfoledda—yn 'stwr
Blin 'storm, rhew ac eira:
Mis côb fawr yw'r Ionawr, A!
Gwyl at dân ein gwlad dyna.

Chwefror o oror eira,—mis oer, bach,—
Amser byd reola:
Dor y dymestl agora,
A'r neidr o'i nyth chwyth ei chwa.

Hen Fawrth oer, hwn ferthyra—yr un claf:
Ynddo'r oen clws brancia:
Mis hau: mwyn edn a'n swyna
Yn hwn o hyd,—d'wed, "Daw'n ha'."

Hyd fân fill Ebrill lwybra,—ac ini
Drws gwanwyn agora:
Dywed y gog y deua
Yn fuan iawn yn fwyn ha'.

Yn Mai i'n tud yr huda—yr adar
Hudol egin hardda':
Y fro hoff, dan lifrai ha',
Yn anwyl yn hwn wena.

---

* Ymddengys fod rhai awdurdodau yn gofyn yr un *odl* drwy yr holl "Osteg."

Mehefin fwyn gyflwyna—ei hyfryd
    Afrif swynion hoffa':
  Mis mêl: yn dawel deua:
  Yn dêr nef ein daear wna.

Haul syth uwchben ddeil Gorphena',—â'i wres
    Y cain rawn addfeda:
  Ynddo'r bladur brysura
  Ro'i ar ei hyd wair yr ha.'

Awst anwyl a estyna—ini wledd,—
    Newyn o'r wlad yrra:
  Mwyn wr efo'i gryman ä,—
  Yn awr bwyd ni arbeda.

Yr ydlan yn Medi lanwa,—darbod
    Mae'n gwlad erbyn gaua':
  Y difyrus, hoffus ha'
  I'w ddiwedd yn hwn ddeua.

Y garw Hydref, pan grwydra,—y dail oll
    A'i anadl lem gwympa:
  Yr heulwen yn wan wena
  Yn hwn,—llwyd anian oll ä.

Afrywiog Dachwedd hyf rua,—barug
    Ar wàr boreu daena:
  Ei gorwynt yn ddig yrra:
  Cawn fis oer is cynfas ia.

Mis llwm Rhagfyr yrr ini'r ia,—oerni,
    Hirnos, a dydd byra':
  Y flwyddyn, wrth farw, floeddia—
  "Buan, oes, myn'd heibio wna."

BRYTHON.

# BEDDARGRAPH HU GADARN.

GAN MORWYLLT.

EIN hanwyl HU GADARN huna—yn fud
  Yn y dwfn fedd yma:
 Ow! mawr gŵyn hen Gymru ga
 Heb ei hanwyl "Fab hyna'."

"Gŵr Ty Mawr" oedd gawr gwrol—o du'i wlad
  A'i lwys heniaith swynol:
 Bwlch yn hir welir ar ol
 Yr un addwyn, rhinweddol.

CYMYDOG.

# BEDDARGRAPH ALVARDD.

GAN IOLO TREFALDWYN.

EIN ALVARDD anwyl gynar noswyliodd
I'w glyd dawelwch, a'n gwlad a wylodd.
Am ei fèr adeg gyflym, fe rodiodd
Yn ei wasanaeth,—a Chymru synodd.
Gerwinwch Gormes grynodd—yn ei llid:
Enwogai Ryddid,—yna gorweddodd.

HEN GYDYMAITH.

BEDDARGRAPH

# THOMAS STEPHENS, MERTHYR.

GAN MORWYLLT.

ER MARW cofir THOMAS STEPHENS dirion;
Triga hiraeth yn dyst o'i ragorion:
Y gwr hael, anwyl, gwladgarol, union;
Llawnaf un o gewri Llên fu'n gwron:
Dros Ewrob ca'i drysorion—eu mawrhau,—
Erys bri'i weithiau tra'r oesa Brython.

Yn fri i'w genedl bu ei fawr gynydd:
Hawlia e' 'n fythol fawl Hynafiaethydd;
A phur ei allu fel dwfn Fferyllydd,
A choeth, wir, enwog, orwych Athronydd:
Uwch ei lanerch lonydd—rho'i trist lefau
A wna oesau wrth gofio'n Hanesydd.

LLYWARCH HEN.

# SEREN Y GOGLEDD.

GAN CARN ELIAN, PONTYPRIDD.

LLUSERN wyt uwch holl ser nos—am arwain
Morwyr yn y cyfnos;
Mirain dy liw,—morwyn dlos
Yn nôr y "Pwnc" yn aros.

JACK TAR.

## HUGH PUGH, Ysw.,

# MAER CAERNARFON,

(*Llywydd y dydd cyntaf.*)

GAN EIFIONYDD, TALYSARN.

"HEB noeth arf," Maer Caernarfon—danfa'n gwlad
Yn ein gwledd hyfrydlon:
Llais y MAER o'r Llys Meirion
A ddyry lwydd i'r wyl hon.

Goludog wr, llawn gwladgaredd,—yw'r MAER,
A mŷg blentyn rhinwedd:
O fron y gwron teg wedd
Dylif red o haelfrydedd.

BUGAIL CWMDYLI.

# ARGLWYDD PENRHYN,

(*Llywydd yr ail ddydd*).

GAN T. NICHOLSON, COLEG ABERHONDDU.

PWY haelach yn wir na PHENRHYN dirion?
Yn wr o fonedd hawddgaraf, union:
Y gwrawn difai a gâr ein defion:
Ei fri a godir yn nhwrf ergydion:
Daearer creigwyr dewrion,—ond clod gwir
Y gwr a gerfir ar greigiau Arfon!

CYBI.

### BUGEILGERDD—

# BUGAIL Y GORLLWYN.

**Gan E. Lloyd, Coleg y Methodistiaid Calfinaidd, Bala.**

---

RHAN I.

Ar lan yr Afon Glaslyn,
  Yn ngodrau'r goedwig werdd—
Lle pyncia'r du pigfelyn,
  Ar frigyn, ddwyfol gerdd,—
Lle tardda meillion gyntaf
  O adfail gauaf du—
Fan yna ganwyd Llifon,
  Fan yna saif y ty.

Nid oedd y bwth ond bychan,
  A'i do i gyd yn wellt;
Rhyw bedair o ffenestri,
  A dwy o'r rheiny'n ddellt;
'D oedd ynddo lofft na thaflod,—
  Na, dinod oedd i ffawd:
Fan yna ganwyd Llifon,
  A hyny'n ddigon tlawd.

Ystyrid Emwnt Ifan
  (Waeth dyna enw'r tad)
Y Cymro mwyaf diddan,
  A hyny yn y wlad;
Y fam ystyrid hefyd
  Yn ddynes gall dros ben:
A bendith fawr i lawer un
  F'ai mun 'r un fath a Men.

I'r ddeuddyn addfwyn yna
  Y ganwyd mab a merch,—
Gefeilliaid tlysion oeddynt,
  A'u hynt fu'n llawn o serch:
'R oedd rhiant Aberheilyn,
  'N ol geni'r ddeuddyn llon,
Y naill yn hwn yn gwel'd ei hun,
  A'r llall ei lun yn hon.

Fe dyfai'r plant i fyny
  Yn heinif, iach, a llon,—
Yn siriol fel y lili,
  Neu frieill heirdd y fron;
Chwareuent gyda'u gilydd,
  Yn ddedwydd, ger y lli':
Mae cofio'r hanes, lawer awr,
  Yn bleser mawr i mi.

Cyn hir daeth dydd i Llifon
  I adael bwth ei dad;
Ymorol am ei grystyn
  Oedd raid i'r llencyn mad:
Ei fryd ro'es ar fugeilio,—
  Yn fugail mynai fod;
Adwaenai braidd bob ffridd a pharc,
  Pob corlan, marc, a nod.

Dymunai gael rhodio y meusydd,
  Yn nghwmni y defaid a'r wyn,—
Gael dringo i gopa y mynydd,
  Drwy lwyni o gruglys a brwyn,—
Gael eistedd yn nghadair y cwmwl—
  Cartrefle distawrwydd didranc,—
Uwchlaw i helbulon a thrwbwl:
  'R oedd hyny'n farddoniaeth i'r llanc.

Dymunai gael dilyn yr afon
  I fyny hyd riniog ei drws,—
Gael gweled ei dyfroedd tryloewon,
  Fel grisial—mor loewon, mor dlws,—
Gael yfed o lygad y ffynon,
  Barddoni yn murmur ei si,—
Gael gweled ei dyfroedd yn rhedeg,
  Yn landeg, i gartref y lli'.

Er cyrhaedd ei amcan cyflogodd;
  O'i wirfodd, yn fugail yr aeth
At Rhydderch, i'r Hafod Garegog*—
  Lle enwog, tu arall i'r traeth:
'R oedd defaid yr Yswain yn pori
  Hyd lechwedd y Gorllwyn, pryd hyn;

* Y mae y Gorllwyn ar ochr Sir Gaernarfon i afon y Glaslyn, tra y mae yr Hafod, hen gartref yr enwog Rhys Goch Eryri, yn ochr Meirionydd iddi.

A'r geifr, ar hyd lethrau'i glogwyni,
  Yn chwareu yn nghwmni eu mynn.

'R oedd Llifon yn hoffi bugeilio,
  A gwylio y farus a'r wan;
Pan gollai y farus o'r gorlan,
  I'w chwilio yr äi yn y fan;
'N ol canfod y ddafad grwydredig,
  I'r gorlan fe'i dygai drachefn:
Rhyw luoedd o ddefaid briwedig
  A gariodd fel hyn ar ei gefn.

Ond pleser ei galon, bob amser,
  Oedd gwylio chwareuon yr wyn,
Mewn nwyfiant, heb ofid na phryder,
  Yn llamu dros geryg a brwyn:
Os gwelai un bychan, diniwed,
  Yn dioddef o achos ei fam,
'R oedd Llifon, bob amser, "cyn wired"
  O gadw'r un hwnw rhag cam.

Canfyddodd un felly ryw ddiwrnod,
  A'i fagu'n ofalus a wnaeth;
Gofalai, wrth odro y buchod,
  I'r oenig gael digon o laeth;
Ac felly cynyddai'n feunyddiol
  Yn arlun prydferthwch a hoen:
Mor hapus oedd Llifon, mor ddoniol,
  Yn nghwmni ei gorgi a'r oen.

Dyddorol f'ai gwel'd, ar ddechreunos,
  Y bugail, yr oenig, a'r ci,
'N troi allan i'r gweunydd i hanos,—
  Mor ddoniol edrychai y tri:
Yr oenig yn *actio* 'r Hen Dderwyn,
  Yn rhedeg i'w ganlyn o hyd,
Nes llenwi y defaid â dychryn,
  A'u gyru i redeg i gyd.

  Daeth merch yr Hafod, eneth dlos,
  I wel'd y praidd ryw "gyda'r nos,"
  A chanfod wnaeth yr oenig lân
  Yn gwneuthur gwawd o'r defaid mân.

Gofynodd, "Llifon, beth yw hyn?
Yr oen, fel ci, hyd ael y bryn;
A'r defaid oll yn ffoi i bant
Rhag teimlo awch ei finiog ddant!"

Atebai'r llanc y wyryf wen,
'N ol codi'i law a chrymu'i ben:
'N ol gwrando'r hanes chwarddai'n llon;
Gofynodd, "Llifon, ga' i hon?"

"Miss Winni bach," atebai'r llanc,
"Fe gedwais hon rhag cynar dranc;
Fe gadwn filoedd er eich mwyn,—
Gwnawn, rhoddwn ichwi fyrdd o wyn.

"Mae'r oen yn eiddo llwyr i chwi,
Y bugail Winni,—gwas wyf fi;"
"Na," ebai'r fun, gan wenu'n llon,
"'R wy'n gofyn, Llifon, ga' i hon."

'R oedd Llifon cyn falched cael rhoddi i'r fun
Yr oenig feithrinodd i fyny ei hun,
A Winni cyn falched o gael gan y llanc
Yr oenig a gadwodd, fel dywed, "rhag tranc."
O'r Gorllwyn i'r Hafod fe gludwyd yr oen,—
'R oedd hyny, i Winni, yn drafferth a phoen;
Gomeddai a symud, ni roddai un llam,—
Gorfodwyd ei chario, a hyny bob cam.

Er cludo'r oenig yn ei chol
Aeth boreu dranoeth yn ei hol:
Ha! tebyg iawn i'r oenig hon
Oedd Winni wen, a serch ei bron.

Er gadael Llifon fel y gwnaeth,
A myn'd i'r Hafod, hwnt i'r traeth,
Meddyliau'r fun, heb wybod, braidd,
Oe'nt gyda'r hwn fugeiliai'r praidd.

Fe garai'r ferch y bugail,
Fe garai yntau'r ferch;
Fel hyn caed sylfaen adail,
A hono'n adail serch.

Rhyw "gyda'r nos" gwnaeth Llifon gân
I dd'weyd rhinweddau'r eneth lân;
Gwnaeth hithau hefyd, yr un pryd,
Gân iddo yntau, 'n serch i gyd.

Dyma fel canai i wrthddrych ei serch:—
Cewch glywed, 'mhen tipyn, sut canodd y ferch.

"Mi welais ser y nen
Yn gwenu ar y lleuad,—

Pob seren fechan, wen,
  Yn anfon saethau cariad;
Ond, Ha! nid oedd pob seren dlos,
Wrth lygaid hon, ond haner nos.

"Mi welais ewyn tòn,
  A'r alarch ar yr heli,—
Y wylan fechan, lon,
  A'i lliw ar ol ymdrochi:
Ha! Winni bach, nid oedd y rhai'n,
I'th wddw gwyn, ond haid o frain.

"Mi welais flodau'r ardd,—
  Y rhos a'r dyner lili;
A llawer blod'yn hardd,
  Nas galla' 'i 'n awr ei enwi:
Ond tlysni'r rhai'n gydgasglwyd i
Wneyd blod'yn ar bob grudd i ti.

"Darllenais, do, cyn hyn,
  Am 'Ata,' eneth heini',
A redai ael y bryn
  Fel ewig, neu'n fwy gwisgi;
Ond ni bu 'Ata' bach erioed
'N fwy sionc na Winni ar ei throed.

"Fe ddaliwyd 'Ata,' do,
  Fe'i daliwyd gan Milanion;
Pa ddiolch iddo fo?
  'R afalau aur, melynion,
A ga'dd gan Olwen, duwies serch,
Fu'n foddion iddo gael y ferch.*

"Mae aur yn dallu rhai,
  Efallai felly Winni;
Mae'n hardd, fel blodau Mai:
  Ond, Ow! 'rwy'n digaloni;
Gwnaed gwrthglawdd rhyngom ni gan ffawd,—
Mae hi'n gyfoethog, finau'n dlawd."

Dyna fel canai y bugail i'r fun,
A dyma fel canai y wyryf ei hun :—

"Mi glywais lawer llanc
  Yn canmol merch yr Hafod,—

---

* Myth.

Ag arian'yn y banc,—
  Yn llyfndeg iawn ei dafod;
Ond, Llifon anwyl, gwell gen i
Hyawdledd cil dy lygaid di.

"Canmola un ei 'stad,
  Ac arall waed ei deulu,—
Mae hyn yn dotio 'nhad,
  Waeth imi beidio gwadu;
Ond, Llifon anwyl, gwell gen i,
Na moeth y rhai'n, dy dlodi di.

"Mae'n wir gwna llawer wawd,
  A'm galw'n eneth wirion,
Am garu bachgen tlawd,
  Er iddo foddiò'm calon;
Ond, Llifon anwyl, gwawdiant hwy,—
Tydi i mi, pe ar y plwy'.

"'R wy'n gweled rhwystrau mawr
  Yn gwgu arnom, Llifon;
Ac O! mae hyny'n awr
  Bron, bron a hollti'm calon:
Anfonaf eirchion at fy Nuw
I ofyn gawn ni'n dau gydfyw."

Dyna fel canai y naill i'r llall,
Heb dd'weyd wrth eu gilydd, "Oedd hyny'n dro call?"

Peth anhawdd i'r bugail oedd "tori yr ias,"
'R oedd hyny yn anhawdd, yn hynod o gas;
Pan welai y feinwen, un anwyl, un ddèl,
Fe deimlai ei hunan yn myn'd fel a'r fel:
Barddoni o'r newydd y byddai bob dydd,
('R oedd Llifon yn feistr y gaeth fel y rydd):
'R oedd creigiau y Gorllwyn yn dafod, bob un,
Yn adrodd y cerddi wnai'r bugail i'w fun;
Ceid gweled englynion, hyd ddanedd y graig,
Yn d'weyd fel yr hoffai gael Winni yn wraig:
Edmygai ei glendid, ei hystum, a'i moes,—
Ni welodd ei thebyg erioed yn ei oes.
Arferai gael myned bob wythnos, o'r braidd,
I'r Hafod, i adrodd am ffyniant y praidd;
Pryd hyny b'ai Winni yn adrodd y boen
A'r drafferth a gafodd i gludo yr oen,
A'r modd y diangodd y gwirion yn ol,
Gan dd'weyd wrth y bugail, "On'd oedd o'n un ffol?"

"Wel, oedd," ebai yntau, "nid felly gwnawn i,—
Mi dreuliwn fy mywyd; ond, welsoch chi'r ci
A gefais yn anrheg gan wr Ynys Wen;"
Fe wridodd y feinwen, a chrymodd ei phen.

---

RHAN II.

Pan oedd y lloer yn dringo'r nen,
A'r haul yn myn'd i'w wely,
Ceid gweled meinir brydferth, wen,
Yn tynu ar i fyny:
O dan ei braich 'r oedd hosan wlan,
A'r gwieill rhwng ei byssedd;
Ac ar ei "ffedog" fechan, lân,
'R oedd bach i ddal edafedd.

Esgynai i fyny'n araf bach,
Gan ddystaw ddwysfyfyrio,
Tra'r awel falmaidd, dyner, iach,
Yn chwerthin wrth fyn'd heibio;
Ac ambell dro eisteddai i lawr
Ar esmwyth sedd o fwsog,
Er gwel'd yr huan, enwog gawr,
Yn myn'd i'w wely eurog.

'N ol canlyn cawr y dydd, fel hyn,
A'i ddodi yn ei wely,
Esgynai'r fun i fyny'r bryn;
Ar hyn fe glywai ganu:
O! 'r oedd y llais yn fiwsig byw,—
A thybiai'r fun mai angel
Oedd yno'n canu, yn ei chlyw,
Ei dannau ar yr awel.

"Rhyw angel canaid," ebe hi,
"Yw hwn, yn d'od o Wynfa,
I suo'r cawr rhag rhoddi cri,
'N ol blino ar ei yrfa:
Ond, na, pa beth, pa beth yw hyn?
'R wy'n clywed enw Winni;
Mae eco'r creigiau yn y glyn,
Mewn miwsig, yn fy enwi.

"Mae sylwedd y gân yn debyg i hyn,
Os iawn wyf yn deall iaith eco y glyn:—

'Mae'r huan yn ei wely,
A'r lloer yn myn'd i garu;
A'r ser yn chwerthin am ei phen,—
Pe byddai *odds* am hyny:
Mae'r lli' yn eithaf boddlon
I garu'r lleuad dirion;
A'r lloer 'r un fath a geneth wen,
Ar ael y nen, yn union:
Er ei bod yn llawn o gariad,
Nis gall edrych yn ei lygad;
Ac er d'od i'r lan o'i thrwbwl,
Rhed i lechu'n nghysgod cwmwl:
Felly bydd, ar hyd y nos,
Fel rhyw eneth brydferth, dlos,
Nes y cwyd yr haul o'i wely
I ro'i terfyn ar ei charu.'

"Ha! fy Winni, dyma arlun,
Dyma'r bardd, a dyma'i eilun:—
Caru'r y'm fel lloer a lli',—
'R un fath yn union, 'ddyliwn i:
Cael gwel'd dy wyneb, ferch yr Hafod,
Wnai fy nhynu o fy nhrallod:
'D yw gwenau'r lloer ar ddrych y lli'
Ond byr barhad, Ow! felly ni;
Cipdrem weithiau, colli wed'yn,—
Gwel'd fy mun, a'i cholli'n sydyn!
O! na ddeuit, feinir anwyl,
I ro'i tro 'n ol cadw noswyl;
O! na ddeuit, wedi cwynos,
I ro'i tro o gylch dy wynos:
Tyred, tyred, anwyl Winni,—
Merch yr Hafod, paid ag oedi."

'R oedd canig y bugail yn wenfflam o serch,
A syrthiodd y gwreichion ar galon y ferch:
Ei henaid a daniai o serch at y llanc;
Dywedai, "Hyd angeu, neu fflamau y stanc.

"Mi redaf ar unwaith i freichiau fy mardd:
Na, na," meddai wed'yn, "nid yw yn beth hardd;
Af adref ar unwaith, dof 'fory am dro;
Gobeithio, pryd hyny, y gwela' i o."

Aeth adref; fe groesodd y Laslyn mewn bad
A gedwid i'r pwrpas gan Rhydderch, ei thad;
Cyrhaeddodd yr Hafod yn danllwyth o serch,—
Fe daniai ei chalon yn mynwes y ferch.

'R oedd alaw y bugail yn fiwsig i'r fun,—
Gwnai ymgais i ganu y dernyn ei hun;
Ond methiant fu'r ymgais, "Nis gallaf," medd hi,
"Ddim canu, fy nghariad, yn debyg i ti.

"Dof 'fory i'th weled, os byddaf fi byw;
Rho' 'ngofal am heno yn mreichiau fy Nuw:
Fy Nuw, wnei di symud y rhwystrau di ri'
Sy'n gwgu ar Llifon, fy nghariad, a mi."

Pan oedd yr haul yn esgyn
  Orielau'r awyr faith,
Gan sugno'r gwlith oddiar bob rhos,
  Heb aros ar ei daith,
Esgynai Winni Prydderch,
  A'i bron yn llawn o serch,
I fyny tua llanerch werdd,
  Ar hyd y creigydd erch:
'R oedd awydd ar ei chalon
  Gael gwel'd y llanerch hardd—
Y fan lle canai'r noswaith gynt
  I glust y gwynt, ei bardd:
'N ol dringo, dringo, dringo
  I fyny lethrau'r glyn,
Canfyddai gerfiad ar y graig,
  A'i sylwedd ydoedd hyn:—

WINIFFRED PRYDDERCH.

"W inni anwyl, anwyl Winni,
I ti canaf, eiliw perthi;
N id oes meinwen, drwy holl Walia,
I ti'n hafal, fun anwyla';
Ff ynon loyw yw dy lygad—
R isial, brydferth, lawn o gariad;
E ilun ydwyt, gwerth dy garu;
D enol ydwyt, feinir fwyngu.

"P ryd y caf, a gaf fi rywbryd,
'R hon a garaf, fy anwylyd?
Y dyw ffawd i mi yn elyn?
Dd uwies serch, gwna fi yn blentyn:
E drych arnaf, ffawd, tosturia;
R hwyga bob anhawsder, rhwyga;
Ch wal bob cwmwl, bob dyrysni,—
Gad, O! gad i mi gael Winni."

Fe gododd Winni gopi
 O'r ganig ar y graig;
Tra'n gwneuthur hyny canai'n llon,
 "I Llifon bydda' 'i 'n wraig;
Af at fy mugail anwyl,
 Mae'n orchwyl difyr iawn,—
Cael rhodio'n rhydd, yn ngoleu dydd,
 Hyd hwyrddydd y prydnawn:
Af ato, a dangosaf
 Y ganig brydferth hon;
Dywedaf wrtho, 'Llifon bach,
 A'm calon bach yn llon,
Mi genais ganig, Llifon,—
 Beth 'ddyliet ti o hon?
Gosodais yn fy nghanig, do,
 Serchiadau dyfna' 'mron.' "

Cychwynodd tua'r Gorllwyn
 I wel'd y bugail tlawd;
'N ol cyrhaedd "pen y clogwyn"
 Fe'i gwelodd,—dyna ffawd;
Moesgrymai'r bugail iddi,
 Fe grymai Winni'i phen:
Ha! dyma ddau flodeuyn hardd
 O erddi Gwalia wen.

"Wel, Llifon," meddai, i ddechreu,
 "'R wyf wedi mydru cân,
Pan oeddwn i, ryw foreu,
 Yn dirwyn pellen wlan:
A wnei di'n awr ei darllen,
 A dangos im' bob gwall?
Y ffordd i wella pob rhyw fai
 Yw helpu naill y llall."

"O! gwnaf, Miss Prydderch anwyl,"
 Atebai'r llanc yn llon;
"Nis gall fod unrhyw orchwyl
 Mwy cydnaws i fy mron:
A gaf fi wel'd y ganig,
 Os gwelwch ch'i yn dda:
On'd yw hi'n ddiwrnod difyr iawn,—
 Peth difyr iawn yw ha'."

"Wel, dyma'r ganig, Llifon,"
 Ar hyn, atebai'r ferch;

"Y gwallau, noda weithion,—
Y testyn ydyw serch:"
Darllenai'r bardd ei ganig
A gerfiodd ar y graig;
"Wel, dyma hi," medd wrtho'i hun,
"Mi dafla' f' hun i'r aig."

"Gad glywed, fardd y Gorllwyn,
Dy syniad am fy nghân;
'R wy'n dysgwyl byddi addfwyn,
Na wnei 'nghondemnio'n lân:
A wyt ti'n tybied gellir
Barddones? d'wed, yn ffri,
A ellir gwneyd barddones dda,
Ryw ddydd, o honwyf fi?"

"Ow! druan o'r bardd, Ow! druan o hono,—
Gall ef gyfansoddi, gall eraill *gopïo:*
Cyn heddyw fe gerfiodd, do, do, rai ugeiniau
O'i hoffus ganeuon hyd ddanedd y creigiau:
O! na buasai genyf, yn lle y clogwyni,
Rhyw ddirgel amgueddfa i gadw fy ngherddi,—
Rhyw fan dirgeledig, a chlöig ar hono,—
Ond hebddynt yr ydwyf,—a'm helpo, a'm helpo."

"Gad glywed, fardd y Gorllwyn,
Dy syniad am fy nghân;
Pa fudd a gei o achwyn,—
'R wyt wedi d'rysu'n lân:
Tyr'd, tyr'd, gad imi glywed
O barthed hyn o bill;
Os nad yw yn dy foddio di,
Mi llosgaf hi bob sill."

"Mi gerfiais y ganig yn ngoleu y lleuad,
Mae'r oll o'r llyth'renau yn orlawn o gariad;
Cariad ddewisodd bob un o'r llyth'renau,
A chariad a'u cerfiodd, O! peidiwch ag amau;
Cariad ddangosodd i'r bugail y llecyn
Lle cerfiodd ei ganig, ac englyn i'w chanlyn;
A chariad sy'n tanio fy awen i ganu;
O! peidiwch, Miss Prydderch, O! peidiwch a synu.

"Y chwi ydyw testyn yr oll o'm caneuon;
O! na baent mor brydferth, mae c'wilydd yr awrhon
Yn llenwi fy mynwes,—'dyw'm cân ond hen rimyn;
Ow! cenais yn salw, a chenyf fath destyn!

A wnewch chwi, Miss Prydderch, am dro, fyned heibio
I'r gwallau dychrynllyd sydd yn eu hanurddo,
A chofio mai bugail, un heb gael manteision,
Fu'n canu eich clodydd yn mro yr awelon?

"A fyddai yn ormod, Ha! peidiwch cynhyrfu,
Im' ddweyd wrthych heddyw fy mod yn eich caru;
Efallai y digiwch, y ffromwch yn sydyn,
Wrth glywed y geiriau o enau bugeilyn:
Nis gallaf, yn mhellach, ymatal rhag agor;
Mae'r llanw yn uchel, agoraf y llifddor,—
Fy nghalon dywalltaf, O! eneth anwylgu:
A gaf fi, Miss Prydderch, eich caru, eich caru?"

"Da gan alarch nofio'r llyn,
  A da gan eos ganu;
Da gan inau glywed hyn,
  Dy fod di yn fy ngharu.

"Fe'th garaf di, Llifon, yn ngwyneb pob rhwystrau,
'Does dim a'n gwahana ni bellach ond angau:
Mae'n debyg daw rhwystrau yn llu i'n cyfarfod;
Cawn glywed, mae'n debyg, gryn lawer o ddanod—
Danodir dy alwad, a thlodi dy deulu;
Ond, beth ydyw hyny i ddau fyddo'n caru?
Rhyw frwdgalch i asio'r cysylltiad yn dynach,—
I garu ein gilydd 'n anwylach, anwylach."

Gwnaed rhwng y ddau gyfamod—
  Cyfamod mab a merch;
Heb neb ond Duw yn canfod,
  Rhoed rhwymyn am eu serch.

Fe seliwyd y cyfamod
  Cydrhwng y bardd â'i fun;
Mor hapus oedd y diwrnod
  I'r bugail llon a'i ddyn.

'N ol llawer o gofleidio,—
  Ha! peidiwch gweled gwall,—
Fe'u gwelaf yn ymado
  O gwmni'r naill y llall.

Caed amryw orig ddifyr
  O garu wedi hyn,
Ar hyd y traeth, a'r llwybyr
  Sy'n dilyn min y llyn.

RHAN III.

Pan oedd y gwynt yn rhuo
  Yn nghlogwyn "Hafod Bwch,"
A'r eira gwyn ar ddol a bryn,
  Pryd hyn ceid gweled cwch
Yn croesi dros y Laslyn,
  Yn cynwys mam a thad;
Siaradai'r ddau, wrth groesi'r lli',
  Am ri' eu moeth a'u 'stad:
Fe gyrchent tua'r Hafod
  Er gwel'd yr Yswain llon,
A gweled Winni—dyna'r ffaith,—
  Prif nod y daith oedd hon.
'N ol llawer o ymwthio
  Drwy'r eira trwch a'r gwynt,
Cyrhaeddyd wnaethant ben y daith,
  'N ol llafur maith eu hynt.

'N ol cyrhaedd drws yr Hafod,
  A gweled gwraig y ty,
Yn mlaen i'r parlwr aent yn llon,—
  'R oedd John yn llon a hy':
Gofynodd y boneddwr,
  "A yw y gwr yn nhre';
Os ydyw, gaf fi haner gair
  O ymgom gydag e'?"
Fe alwyd ar yr Yswain,
  Daeth atynt gyda brys;
Cyfarchodd hwynt, gan ofyn am
  Y fam, sef gwraig y Llys:
Cyfeiriodd at y ddryccin,
  A chwiban croch y gwynt;
A throdd y stori, cyn pen hir,
  I dir yr amser gynt.

'N ol llawer ymgom ddifyr
  Ar bwys yr hyn a fu;
Am hanes teulu naill y llall
  Diball y siarad fu:
Newidiwyd yr ymddyddan
  Yn awr gan Gruffydd Rhys,
(Oblegid felly gelwid ef,
  Sef Yswain mawr y Llys);
Coffaodd am yr amod
  Fu rhyngddynt hwy, ryw dro,

Tra'n rhodio'n rhydd, ar nawn rhyw ddydd,
Hyd ddolydd heirdd y fro;
Gofynai am gyflawniad
O'r amod gynt a wnaed,
Sef uno dau yn rhwymyn serch,
A'r rhei'ny'n ddau "o waed."

Gofynodd am gael gweled
Yr eneth hapus, lon,—
Yr eneth oedd i fod, cyn hir,
Yn wir, yn eiddo John;
Anfonai'r tad am dani,
Daeth Winni ar ei arch:
Ha! dyma ichwi Wener wen,—
'R oedd Gwen yn haeddu parch:
'R oedd gwr y Llys yn dotio,
A John bron myn'd ar dân;
'R oedd llygaid Winni'n berlau byw,
A'i gwallt mor ddu a'r fran:
"Fy ngeneth," ebe'r Yswain,
"Gwel yma'th ddarpar wr;
Mae'n fachgen hardd, mae'n Yswain doeth,
A'i foeth yn ddigon siwr."

Edrychai ar yr Yswain
A fynai gael ei llaw;
Ond yn ei byw, pob parch i'w ryw,
Nis gallai fod heb fraw:
Meddyliai am ei bugail,—
I'w gesail mynai ffoi;
Fe welai Winni, druan oedd,
Dymhestloedd yn crynhoi:
'R oedd cyfoeth a thylodi
Yn ceisio maglu'r ferch;
Er gwaetha'r ddau, yn ffyddlon bu
I'r bugail aeth a'i serch.
Dywedai'i thad, "Wel, Winni,
Fe'th unir, cyn pen hir,
A'r llencyn hwn; a byddi, gwn,
Ddedwyddaf yn y sir."

"Fy nhad," atebai'r brydferth,
"Aroswch dipyn bach;
O! peidiwch bod ar ormod brys,—
'R wy'n chwys,—'d wy' ddim yn iach:

Cawn eto gydymgomio,—
  Mae hyn yn fater oes!
O! peidiwch, 'nhad, a myn'd rhy bell,—
  Do' 'n well ar ol fy loes:
Cawn siarad ar y mater,
  Cawn amser eto at hyn;
Gwell ichwi aros dipyn hwy:
  Pwy wad, fy nhad, 'rwy'n wyn!"
"Wel, Winni, mi arosaf
  Ychydig bach yn hwy;
Ond, cofia di, f' ewyllys i
  Fydd iti'n rheol mwy."

Fe giliai'r ferch o'r neilldu,
A'r dagrau yn ei dallu!
Pwy na thosturia, meddwch chwi,
Wrth eneth mewn trybini.

Neillduodd i'w gorphwysfan,—
Fe glywai'r 'storm tu allan;
Ond, Ow! yn awr 'roedd 'storom erch
Yn mron y ferch ei hunan.

Nis gallai feddwl huno;
'R oedd dyfroedd heillt yn treiglo,
Yn ffrydiau gloewon, dros ei grudd,
Dan bwys y dydd aeth heibio.

Meddyliai am ei Llifon,
Ei hanwyl fugail tirion;
"Beth ' gwyddai 'nghariad," ebe hi,
"Fy ngofid i yr awrhon.

"Cyfodaf, ysgrifenaf,
Am hyn, i'r llanc a garaf;
Dywedaf wrtho fel y bu,
Ac fel y bydd tra byddaf."

Cymerodd ei hysgrifbin,
Llinellodd ganig ddillyn
I dd'weyd wrth Llifon fel y bu—
Am ru a swn y ddryccin.

A dyma swm y ganig
Linellodd y forwynig,
I dd'wevd wrth Llifon, mab ei serch,
Am gyflwr erch ei oenig:—

"Wel, Llifon, mae'r cymyl yn casglu,—
  Mae 'storom yn sicr o dd'od;
Fe'i gwelir ar ael y penteulu,—
  Dyweda y myna ei nod:
Daeth Yswain a'i dad yma heno,
  A hwnw yn Yswain y Llys;
Dywedant y mynant fy rhwymo,—
  Nid felly, nid felly, ar frys.

"Fe sonient am aur ac am arian,
  Am ychain, a defaid, a thir;
Gwrthodais a gwrando y cyfan,—
  Tydi yw fy nghariad i wir:
Gwell genyf dy gwmni di, Llifon,
  Beth bynag a fyddo ein rhan;
Tydi ydyw eilun fy nghalon,—
  Tydi, neu briddellau y llan.

"Gwrthodais a gwrando eu baldordd,—
  Dywedais nad oeddwn yn iach,—
Er gweled a allwn i, rywffordd,
  Gael heddwch am dipyn bach, bach:
Gadewais y cwmni urddasol—
  Yr Yswain cyfoethog a'i John;
A rhedais i chwilio am gongol
  I dd'weyd am deimladau fy mron.

"Anfonaf y llythyr hwn, Llifon,—
  Daw'r bachgen a'r llythyr i ti;
Tyr'd yma, gwna esgus, bydd ffyddlon,—
  Mae'th weled yn fywyd i mi;
Paid oedi, fy nghariad, a dyfod,—
  'N ol darllen y llythyr gwna frys;
Cei groesaw gan Winni yr Hafod
  Amgenach nag Yswain y Llys."

Mae dyfroedd digon chwerwon
  Yn d'od i gwpan dyn;
Fe bylir ei obeithion
  Bob dydd o un i un:
Bu felly gyda'r feinwen,—
  Yn lle i'w bugail mad,
Fe syrthiodd ffrwyth ei hawen
  I ddwylaw oer ei thad.

Aeth Rhydderch yn gandryll! Ow! druan o hono,
Edrychai fel gwallgof, a'i lygaid yn fflamio:

Darllenodd y llythyr, fe'i taflodd o'r neilldu;
Fe'i cododd, darllenodd ef unwaith 'r ol hyny:
Edrychai am fynyd fel dyn yn breuddwydio;
Yn sydyn edrychai fel llew wedi gwylltio;
Crynhoai digofaint yn dyrch ar ei aeliau,
A rhuai fygythion yn erchyll daranau.

Estynodd y llythyr, gan dd'weyd wrth ei briod,
"Gwel, darllen, os gelli, heb golli, mewn trallod;
Gwel hanes dy Winni; Ha! darllen ei hebwch,
Mewn trallod, fel dywed, at fab ei hyfrydwch!!
Mae'n cynal, feddyliwn, ohebiaeth â'r hogyn
Sy'n cadw ein defaid hyd lechwedd y Gorllwyn:
Mae'n dweyd yn ddifloesgni, 'Tydi yw fy nghariad,
Mae 'mywyd yn hongian ar amnaid dy lygad.'

"Pa le mae y faeden? dos, galw hi yma;
Na, aros, nes darllen yr ebwch yn gynta';
Dos drosto bob sillyn, o'r dechreu i'r diwedd,—
A welaist ti, rywbryd, fath bentwr o ffoledd?
Paid wylo, fy mhriod, rho'f ben ar yr helynt;
Eu gobaith a chwelir fel niwl gan y corwynt.
'R wy'n d'weyd yn ddifrifol,—mor wir a bod huan,
'Chaiff Llifon a hithau byth bythol eu hamcan."

Pan oedd y tad, mewn geiriau erch,
Yn bygwth diffodd serch ei ferch,
Daeth Winni i mewn, heb feddwl drwg,—
Heb ofni geiryn brwnt, na gwg.

Edrychai fel y lili dlos,
'N ol sychu'i grudd o wlith y nos
A llian canaid cawr y nen,
A'r hwn y sych y lili wen.

'R oedd ol y wylo wedi ffoi,
A'i thegwch wedi ail grynhoi;
Edrychai'n dlysach nag erioed;
Ha! ewig ydoedd ar ei throed.

Aeth at ei thad: "Fy nhad," medd hi,
"Mae'r traeth i gyd yn fôr o li';
'D oes le i'r buchod heb eu troi
I'r Bryn, am heddyw, at y lloi.

"Dowch, 'nhad, dywedwch beth a wnawn?
Oes rhywbeth, 'nhad, heb fod yn iawn?

Aeth rhai o'r ychain efo'r lli' ?
Beth ydyw'r mater, meddwch chwi?

"'R y'ch chwi a mam, ill dau, yn brudd:
Pa le mae'r wên oedd ar eich grudd?
Mae'ch gwenau heddyw, riant cu,
Ill dau, yn gwisgo gorchudd du."

"Fe doddwyd yr eira gan faint y gwlawogydd,—
Fe gododd y Laslyn uwchlaw ei cheulenydd,—
Ysgubwyd chwe eidion gan nerth y llifeiriant,
A syrthiodd un arall dros "Glogwyn y Ceunant,"—
Aeth tri o ebolion, a phedair o deisi,
Ac ugain o ddefaid, i ganlyn y genlli',—
Ond, Winni, 'd yw hyna ond bychan a dinod,—
Rhyw ddefnyn yn ymyl dwfn foroedd o drallod.

"Nis gallai y Laslyn, a'i dyfroedd trochionog,
Ddim pellach na'm gwneuthuryn dlotach o geiniog;
'D yw ceiniog ddim llawer i Rydderch yr Hafod,—
Nid dyna ffynonell fy ngofid a'm trallod:
Na, Winni, rhyw lythyr,—mae'i gofio, yr awrhon,
Fel cleddyf daufiniog yn hollti fy nghalon;
Gwel yma y llythyr, a darllen e' drosodd,—
Mae'i gynwys yn wermod i'r sawl a'i darllenodd."

Estynodd y llythyr ar unwaith i'r fun,
Ow! druan o honi,—ei llythyr ei hun;
Rho'es fonllef bruddglwyfus, a syrthiodd i'r llawr;
Bu'n gorwedd fel marw, a hyny am awr.

'N ol dechreu dadebru, yn wanaidd rho'es gri,
"Fy nhad, O! fy nhad, maddeuwch i mi;
'R wy'n caru y bugail, os cerwch eich merch:
O! 'nhad, byddwch dyner wrth wrthrych ei serch.

"Mae Llifon, y bugail, yn llenor a bardd,—
Yn dyner, yn serchog, yn wisgi, yn hardd;
Mae'n bobpeth ddymunwn i gael yn y byd:
Ei golli f'ai colli y cwbl i gyd."

"Caiff Llifon a thithau am byth eich gwahanu,—
Ni welwch eich gilydd byth mwyach ond hyny:
Ai bychan oedd genyt, dos ymaith o'm gwyddfod,
Ddinystrio cymeriad hen deulu yr Hafod!
Dyrysu am hogyn o fugail, mewn difri'!
Ha! Ha! mi ddialaf,—cei deimlo, cei Winni;

Ni welir dy uno di bythol â Llifon,
Mor wir a bod dyfroedd y Werydd yn heilltion."

"Tydi yw fy nghariad!" Ha, gwrando, fugeilyn,
Clyw eiriau serchglwyfus dy Winni, dy forwyn;
Llinellodd y geiriau, a'i mynwes yn llifo
O gariad, feddyliwn, yn nghanol ei chyffro!
Do, mydrodd ei chanig, a hyny'n lled gywrain,
Er gwaethaf holl faldordd ei thad gyda'r Yswain;
Fe giliodd o'r neilldu, gan ddadleu ei gwaeledd,
A mydrodd ei rhigwm—eithafnod ei ffoledd.

"'Tydi yw fy nghariad!' Ow! druan o hono,—
Mae genyt ti gariad, heb ail i'w gael iddo!
'Tydi yw fy nghariad!' Beth ydyw? bugeilyn
Sy'n hanos fy nefaid hyd fynydd y Gorllwyn;
Ha! Winni, mae'th lythyr a'i gynwys yn wermod,—
Cei yfed y cwpan, cei sugno ei gwaddod:
Af heddyw i'r Gorllwyn, 'd oes dim all fy atal;
Cyflawnaf fy mwriad,—'r wy'n llemain am ddial."

"O! fy nhad, a wnewch chwi wrando?
Wnewch chwi wrando, f' anwyl dad?
O! gwrandewch, gwnewch beidio gwylltio;
Peidiwch llunio unrhyw frad;
Peidiwch bod yn frwnt wrth Llifon,—
Peidiwch, 'nhad, er mwyn cich merch:
Clywed hyn a dorai'm calon:
Lle mae'ch teimlad? lle mae'ch serch?"

"Maeth eiriau fel tanwydd i enyn y fflamau;
Mae'th ymbil, bob iota, yn tanio fy nwydau;
Mae clywed ei enw i mi yn ferwindod;
Am hyny, bydd ddystaw, ac atal dy dafod:
Caiff gychwyn o'r Gorllwyn, a'i garpiau i'w ganlyn,
Cei dithau dy rwymo fel ci wrth dy denyn:
Dos ymaith o'm golwg, yr holpen benchwiban,—
Cymysgaist y ddiod, cei yfed y cwpan."

Aeth Winni wen o'r neilldu,
A'i gofid bron a'i llethu;
Bu'n wylo, wylo, wylo bu
Am oriau wedi hyny.

Aeth Rhydderch tua'r Gorllwyn,
A gwelai, 'n mhen rhyw glogwyn,
Y bugail llon a'i ffyddlon gi,
(Ni welwyd ci mwy addfwyn).

Pan welodd Llifon Rhydderch,
Aeth ato, gan ei anerch,
A d'wedodd, "Syr, rhai digon gwyllt
Yw'r myllt a ddaeth o'r Llanerch."

"Mae defaid y Llanerch, fel ' d'wedi, yn wyllt,—
Dywedi mai dyna gymeriad y myllt;
'R wyt tithau cyn wyllted a llwdwn dirol,—
Yn ganwaith mwy barus, yn ganwaith mwy ffol.

"Mae'r defaid, ar brydiau, yn tori drwy'r gwrych;
Meddylia am hyny, a weli, drwy'r drych,
Eu bugail yn tori drwy wrychoedd diri',
Nes difa gobeithion ei feistres a mi.

"Mae'th dymor fel bugail y Gorllwyn ar ben,
Mor wir a bod daear, mor wir a bod nen;
Os gwelaf di eto yn sangu fy nhir,
Ha! gwylia'r canlyniad, cei farw yn wir."

---

RHAN IV.

Rhyw foreu yn Mai,
Ar doriad y dydd,
Yr awel yn chwai
Delorai'n y gwydd,
A'r adar a ganent ar gangau y coed,
Nes creu y beroriaeth swynolaf erioed.

Esgynai yr haul,
'N ol sugno y gwlith;
Mewn cerbyd diail
'R oedd Gwener, ei nith;
Yn nghyda'r planedau, hyd lwybrau y nen,
Mewn gwisg o oleuni, yn cuddio eu pen.

'R oedd anian yn llon,
A blodau diri'
Yn harddu ei bron,—
Brydferthed oedd hi:
Pob blod'yn i'w weled, â gwên ar ei rudd,
Yn wincio yn llygaid hen arwr y dydd.

"Mor swynol y dydd,"
Medd Yswain y Llys;
"Mor swynol y dydd,—
Af allan, ar frys,

I gasglu pwysïau i Winni, y ferch—
Dlos Wener yr Hafod, anwylyd fy serch.

"Gwnaf bwysi i hon;
Caiff weled, drwy'r rhai'n,
Deimladau fy mron
At eneth mor gain:
Pob blod'yn bach, prydferth, gaiff sisial i'r ferch
Fy nghariad i ati, a dyfnder fy serch."

Fe gasglodd swp o flodau
Prydferthaf gwlad y gân,—
Y brieill heirdd, a llygaid dydd,
A'r lili fechan, lân;
Fe dorodd îr helygen—
Mor fain a gwallt ei ben,
A rhwymodd, gyda'r euraidd liw,
Amryliw feill' i Gwen:
Gosododd hwynt o'r neilldu,
Gan drefnu, gyda'r nos,
Eu rhoddi, efo'i law ei hun,
I'r fenyw brydferth, dlos:
Cychwynodd tua'r Hafod;
'N ol cyrhaedd, er ei fraw,
Gwywedig oedd y blodau i gyd
A gludid yn ei law.

'N ol gwel'd y boneddwr aeth Rhydderch, ar frys,
I dalu gwarogaeth i Johnny ab Rhys;
A'i briod a welid yn gostwng hyd lawr,
('R oedd John yn gyfoethog,—yn fab i wr mawr).

'N ol taflu ei olwg o amgylch y ty,
A methu gwel'd Winni, gofynodd yn hy',
"Pa le mae fy ngeneth, dywedwch i mi?
'R wyf yma yn dysgwyl am air gyda hi."

"Mae Winni, mae Winni—mae d'wedyd yn flin—
A hyny er's amser, nas gellir ei thrin;
Nis gellir ei gadael i redeg yn rhydd:
Machludodd ei gobaith yn mlodau ei dydd.
Mae bellach, waeth addef, a hyny er's tro,
Fel pob drwgweithredwr, mewn 'stafell dan glo;
Caiff yno ddihoeni ei heinioes i ben,
Mor wir a bod huan yn entrych y nen.

"Hi dwyllodd ei rhiant; hi'n twyllodd ni, do,
A chwithau'r un ffunud: yn mhellach y b'o.

Dywedai wrth fugail fod Yswain y Llys
Yn chwenych, rhyw ddiwrnod, fodrwyo ei bys:
'R oedd cynwys ei llythyr yn orlawn o wawd,—
Y ni oedd y testyn; a bugail tylawd
Oedd pobpeth oedd ganddi, 'Fy nghariad,' medd hi,
''D oes neb ar y ddaear yn debyg i ti.'

"Yn lle i'r bugeilyn, doi'r llythyr i mi; [chwi?
Ha! beth oedd fy nheimlad? Ha! beth, meddwch
Bu agos i'w gynwys fy llethu i'r llawr,—
Y ddyrnod a gefais oedd ddyrnod mor fawr;
Ond deliais, er gwaethaf ystrywiau y fall;
Ce's ddial y naill yn ogystal a'r llall:
Anfonais y bugail, fel corgi, i ffwrdd;
A rhwymais y benwan, rhag iddi ei gwrdd."

Cyrhaeddai y geiriau yr Yswain i'r byw;
'R oedd gwrando yr hanes yn ferwin i'w glyw:
Gofynodd, o'r diwedd, "Oes rithyn o sail
I'r 'stori sydd genych? ni chlywais ei hail:
Ai tybed fod Winni yn gallu gwneyd gwawd
O honwyf, a charu rhyw hogyn tylawd?
Fod hwnw, fel hithau, yn meddwl gwneyd ffwl
O fab i foneddwr? methasant eu *tool.*

"Rhyw hogyn o fugail tylawd a dinod
Gael Winni yn briod? nis gellir ei fod:
Ca' f' helgwn, rhyw ddiwrnod, bob tropyn o'i waed,
Nid fi ydi'r bachgen i'w fathru dan draed:
Bugeilyn, a'i garpiau yn hislod i gyd,
Gael cwmni y feinwen brydfertha'n y byd?
Ha! gwylia, fugeilyn, gwna wadnau ar frys,
Rhag angerdd digofaint mab Yswain y Llys."

'R oedd swn tabyrddau'n rhuo,
A'r wlad i gyd mewn cyffro;
'R oedd milwyr glewion, yn mhob man,
Mewn tref a llan, yn *pressio.*

Y fam ro'i heibio ganu,—
'R oedd pobpeth wedi d'rysu;
Ei melus gân a droai'n gri,
A'i dyri'n ddwys alaru.

Yr eneth ieuanc, dirion,—
O! fel y curai'i chalon,
Rhag ofn i'w chariad fyn'd i'r gad,
A phrofi brad yr alon.

Fe syrthiodd ar ein harwr,
Am dro, i fod yn filwr;
A milwr iawn, medd hanes, fu,—
Bu'n hynod fel magnelwr.

Cyn cychwyn tua'r miri,
Llinellodd air i Winni:—
"Dof atat eto, Winni bach:
Bydd iach, fy ngeneth heini'.

"Cawn eto gydgyfarfod,—
'Daw heulwen wedi'r gawod:'
O! cwyd dy galon, eneth wen,—
Ceir pen, ryw ddydd, ar drallod."

Er gwaethaf malais greulon,
Er gwaethaf pob dichellion,
Bu llwyddiant Llifon yn ddifeth
I wel'd ei eneth dirion.

'R oedd helynt y *pressio* yn rhedeg fel tân;
A phawb yn ei ofni,—yn fawr ac yn fân:
Ceid clywed am rywun, o'r newydd, o hyd,
Yn gorfod ymado â'i gwbl i gyd:
"Mae Dafydd, Ty'n 'r onen, a William," medd un,
"Yn gorfod myn'd ymaith 'ben bore' ddydd Llun;
A Llifon y bugail, mae yntau yn myn'd,—
'R wy'n teimlo yn erwin yn achos fy ffrynd!"

'R oedd Rhydderch yr Hafod yn glustiau i gyd;
Gwrandawai yr hanes yn llawen ei fryd;
'R oedd swm y newyddion yn iechyd i'w fron,
A theimlai ei galon yn ysgafn a llon:
Anfonodd ei genad at impyn y Llys,
Gan erfyn ei weled, a hyny ar frys,—
Fod golwg obeithiol yn awr wedi d'od,
'N ol helynt y *pressio*, a "throad y rhod."

Ha! eiddigedd, creulawn ydwyt,—
Didosturi fel y bedd;
Chwerddi di wrth weled llwfriaid—
Gwylliaid noeth—yn difa hedd:
Llawer gwaith y gwelwyd gwron
Dewr ei galon dan dy draed;
Tithau'n chwerthin arno'n gwaedu,
Yn trybaeddu yn ei waed!

Ha! eiddigedd, creulawn ydwyt;
Beth yw'r pleser wyt ti'n gael?
Nid yw dyn, pan ar y goreu,
Ond rhyw bryfyn bychan, gwael:
Beth, eiddigedd, ydyw'r pleser?
D'wed ar fyrder, d'wed i mi:
Pa'm y rhaid i ti gael tori,
Tori blodau'n daear ni?

'Raid cael gwaed i dori'th syched?
Tybed, tybed, rhaid cael hwn?
'Raid cael gwaed cyn byddi'n foddlon?
Creulon ydwyt ti, mi wn:
Och! am waed yr wyt yn llefain!
Adsain oer dy ddamniol gri
Sydd yn codi iasau arswyd,
Arswyd calon, arnaf fi.

"Diolchaf i ffawd,—
Diolchaf," medd John;
"Diolchaf i ffawd,—
Fy nuwies yw hon:
Gwnaeth ymaith a'm gelyn,—dymunaf, gan Dduw,
Na welaf mo hono byth mwyach yn fyw.

"Af eto am dro,
Am dro ati hi—
Y dlysa'n y fro,—
Mae'n eneth mor ffri:
Bydd *rhaid* iddi wrando,—mae'n sicr o wneyd—
Mor sicr, i chwi, a 'mod inau yn d'eyd."

Bu llawer o "droi,'"
A llawer o drin;
Bu llawer o gloi,
A helynt lled flin:
Ond ffyddlon i'w bugail oedd Winni o hyd,
Er denu, a bygwth, a'r cwbl i gyd.

Aeth blwyddyn fel hyn,—
Aeth rhagor,—aeth dwy,—
Heb heulwen ar fryn,—
Heb eli i'w chlwy';
Ond, Ha! dyma'r forwyn, fu'n ffyddlon i'r ferch,
A newydd cysurlawn am wrthddrych ei serch.

"Daeth Llifon," medd hi,
"Daeth Llifon yn ol:
Dywedir i mi
Daw yma i'ch nol:
Fe sonir am dano gan rywun o hyd:
Mae'n *fedals*, Miss Prydderch,—yn *fedals* i gyd."

Aeth Llifon, fel dyn,
Yn lifrai ei wlad,
I weled ei fun,—
A gofyn i'w thad
Am dani yn eiddo, a hyny heb drais,—
Na fynai, er pobpeth, ro'i gofid na chlais.

Aeth Rhydderch yn gynddeiriog
'N ol gwel'd y milwr enwog;
A thaniai'i lygaid yn ei ben,
'R un fath a mellten fforchog.

"Tydi, tydi, gael Winni,—
Gwell genyf wel'd ei chrogi:
Dos ymaith, dos, neu wel'di hwn,—
Cei deimlo plwm fwledi.

"Mae'r eneth wedi laru,
A blino, ar dy garu;
A'i rheswm yw, mae'n d'weyd yn g'oedd,
Mai gwirion oedd pryd hyny.

"Hai! ymaith ceisia gerdded,—
Ni fyn y ferch dy weled:
Ni unir byth fy ngeneth i
A llymgi cyn dyloted."

"Cychwyna y Laslyn o'r Wyddfa,
A'r Dili o'r mynydd sydd draw:
Dylifant trwy lawer o rwystra',
Ond unant yn hapus ger llaw,—
Ymdoddant i'w gilydd, ymunant:
Ha! darlun yw uniant y lli'
O'r modd yr ymuna fy ngeneth—
Fy anwyl, fwyn eneth—â mi.

"Daw amser y byddwch yn poeni
Ro'i gofid i Winni a mi;

'D wy'n teimlo dim llawer,—ond Winni,—
'R wy'n teimlo yn ddwys drosti hi:
Pa fodd yr ydych yn gallu
Dinystrio dedwyddwch eich merch?
Eich balchder sydd wedi eich llethu,
A diffodd teimladau eich serch.

"Ffarwel, Mr. Prydderch, ffarweliaf,—
Ffarweliaf cyn cychwyn i ffwrdd;
'D oes neb ond y Brenin Goruchaf
Yn gwybod y fan cawn ni gwrdd:
Pan welwch fi nesaf gwnewch gofio,—
'R wy'n d'wedyd y geiriau fel dyn:—
Bydd ichwi fy ngwel'd yn cofleidio
Fy nghariad—eich geneth eich hun."

Cyn gadael y lle,
Ca'dd air gyda'r ferch
Fu'n llatai iddo e'
A gwrthddrych ei serch;
Dywedodd, "Dos, dywed wrth Winni, dy ffrynd,
Fod Llifon, ei bugail, ar gychwyn—yn myn'd.

"D'wed wrthi fel hyn:—
'Ha! Winni, bydd wych:
Dy Lifon a'th fyn,—
Tor, heno, drwy'r gwrych:
Tyr'd Winni, fy ngeneth, at lan y Llyn Glas,—
Bydd yno, i'th ddisgwyl, dy Lifon—dy was.'"

Dyruai'r corwynt ar ei hynt;
Yn cnulio clywid clychau'r gwynt;
Y dderwen gadarn blygai'i phen;
Ni welid seren yn y nen.

O'r cymyl du ymsaethai mellt,
Nes hollti'r derw mawr yn ddellt;
Ha! dystaw ydoedd rhu yr aig,
Wrth eco'r daran yn y graig.

Yn ngoleu'r mellt fe welid merch
Yn myn'd i gwrdd â mab ei serch:
Chwareuai'r fellten fforchog, wen,
Fel oen diniwed, gylch ei phen.

Cyrhaeddodd lan y Laslyn lân,—
'R oedd dyfroedd hono fel ar dân:
Rho'es floedd, "Fy Llifon, lle'r wyt ti?"
A glywch chwi'r llais, "Ha! dyma fi!"

"Dos i dy fad, fy ngeneth hardd;
Tyr'd, brysia yma at dy fardd:
Mae'r gwynt yn rhwygo brigau'r llwyn,—
Ha! cymer ofal, eneth fwyn!"

"O! Llifon anwyl, achub fi!
Mae'r bad yn troi, fe'm boddir i!
Ha! Llifon anwyl, ffarwel mwy!
Cawn gwrdd mewn gwlad heb ofid mwy!"

Ymsuddodd ein harwr i ganol yr afon;
'R oedd llefau ei gariad yn rhwygo ei galon!
Ymdrechodd ei oreu gyrhaeddyd hyd ati;
Fe lwyddodd,—mae'i freichiau yn dynion am dani!
Ymdrechodd ei oreu, ond Ow! fe ddiffygiodd!
A'i freichiau am dani, fe foddodd, fe foddodd!!
Canfyddwyd hwy dranoeth, gan hwsmon yr Hafod,
Yn mreichiau eu gilydd, ar wely o dywod!!

Bu farw'r fam yn sydyn:
Aeth Rhydderch yn wallgofddyn;
A dyma ei wylofus gri:—
"Dinystriais i fy mhlentyn!!

"Mae Winni wen a Llifon
Yn awr yn mhlith angylion;
Ond, druan ydwyf, dyma fi
Yn nghwmni erch ellyllon.

"Gwae, gwae, im' fyn'd mor wirion,—
'D oedd hyn ond balchder calon:
O! maddeu imi, Winni bach!
O! maddeu, maddeu Llifon!"

Bydd bechgyn y fro,
Hyd heddyw, 'n ol hyn,
Yn hoffi rho'i tro
Hyd finion y llyn,
A dangos i'w hoffus gariadon y fan
Y golchwyd y bugail a'i gariad i'r lan.

ECO'R CREIGIAU.

ARGRAPHWYD YN SWYDDFA "Y GENEDL GYMREIG."